# CATECISM

AR

# EGWYDDORION PABYDDIAETH

A

# PHROTESTANIAETH,

At wasanaeth yr Ysgolion Sabbathol.

GAN THOMAS PHILLIPS,

Goruchwyliwr y Bibl Gymdeithas.

CAERLLEON:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN
T. THOMAS, EASTGATE ROW:
AC AR WERTH GAN H. HUGHES, ST. MARTIN'S
LE GRAND, LLUNDAIN; A CHAN Y LLYFR-
WERTHWYR YN GYFFREDINOL.

1846.

## CYNWYSIAD.

# RHAGYMADRODD.

Mae amgylchiadau presennol Cymru wedi gosod arnom angenrhaid i drosglwyddo gwybodaeth gywir i'n hanwyl gydwladwyr mewn perthynas i wir natur a thuedd Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth. Bwriedir y llyfr bychan hwn, yn benaf, at wasanaeth yr Ysgolion; ac am hyny y cyfansoddwyd ef mewn ffordd o Holiadau ac Atebion. Dichon hefyd y bydd yn ddefnyddiol i benau teuluoedd ac i weinidogion yr efengyl. Gobeithir y bydd y "Catecism" yn dderbyniol gan holl wir Brotestaniaid ein gwlad, ac y gwnant eu goreu i oleuo yr anwybodus, i gadarnhau yr ansefydlog, ac i wreiddio yn meddyliau 'r werin, yr hen egwyddorion ysgrythyrol, dros ba rai y darfu i'r Diwygwyr a'r Merthyron ddyoddef "hyd at waed, gan ymdrech yn erbyn pechod."

Sylwer.—Pan y defnyddir y Catecism hwn yn yr Ysgolion, gadewir i'r athrawon i fabwysiadu 'r cynllun a welont hwy yn oreu. Fe allai y byddai yn ddigon i *adrodd* yn gyhoeddus yr atebion i'r cwestiwn olaf yn mhob pennod, ac i'r Holiedydd i ddarllen y gofyniadau a'r atebion ereill ar bob pwnc, yn y fath fodd, ac i roddi mantais i'r gwrandawyr i ddeall a barnu drostynt eu hunain.

# CATECISM.

---

## ARWEINIAD I MEWN.

HOLIAD. PA rai ydynt brif grefyddau'r byd?

ATEB. Paganiaeth, Mahometaniaeth, Iuddewaeth, a Christionogaeth.

H. Pa un o'r crefyddau hyn sydd yn sylfaenedig ar y Testament Newydd?

A. Cristionogaeth yn unig.

H. A oes ymraniadau y'mhlith proffeswyr Cristionogaeth?

A. Oes; o ba rai y penaf ydynt y Pabyddion a'r Protestaniaid.

H. A ydyw o bwys a chanlyniad pa grefydd a broffeswn?

A. Ydyw, o'r pwys a'r canlyniad mwyaf.

H. Pa fodd y mae yn bossibl i ni wybod a ydyw ein crefydd yn gywir ai nid yw?

A. Wrth Air yr Arglwydd yn unig, fel y mae'n ysgrifenedig yn y ddau Destament, Esa. viii. 20. "At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt."

H. A oes gwahaniaeth rhwng Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth?

A. Oes, gwahaniaeth mawr iawn; a hyny yn y pethau mwyaf sylweddol.

H. Pa le y ceir crynodeb o egwyddorion Eglwys Rhufain?

A. Yn Nghredo y Pab Pius y Pedwerydd, a Phenderfyniadau Cymanfa Trent. (A.)

H. Pa le y ceir golygiadau Protestaniaid ar athrawiaeth, ordinhadau, a dyledswyddau crefydd?

A. Yn yr Erthyglau, Cyffesiadau, a'r Credoau a gyhoeddwyd ganddynt.

H. Pa fodd y gwybyddwn pa un o'r ddwy grefydd sydd yn iawn?

A. Wrth gydmharu y naill â'r llall, a dwyn y ddwy at faen prawf yr Ysgrythyrau Sanctaidd. 1 Thes. v. 21. "Profwch bob peth: deliwch yr hyn sydd dda." 1 Ioan iv. 1. "Anwylyd,

na chredwch bob ysbryd, eithr profwch yr ysbrydion ai o Dduw y maent; o blegyd y mae gau brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd."

---

## I. AM DDIGONOLRWYDD Y BIBL FEL RHEOL FFYDD.

H. Beth yw barn y Pabyddion am y Bibl fel rheol ffydd?

A. [Dywedant fel hyn—"Yr holl wirionedd er achub dyn nid yw gynwysedig yn yr Ysgrythyr Lân; eithr rhan yn yr ysgrythyrau, a rhan mewn traddodiadau anysgrifenedig; yr hyn pwy bynag nid yw yn eu derbyn gyd a'r un parch ag y mae'n derbyn yr ysgrythyrau sydd felldigedig."]

H. Beth yw barn Protestaniaid am y Bibl fel unig a digonol reol ffydd?

A. [Eu cred yw—"Bod yr Ysgrythyr Lân yn cynwys pob peth angenrheidiol i iachawdwriaeth; fel nad ydys yn gofyn bod i neb gredu beth bynag ni ddarllenir ynddi, neu ni ellir ei brofi wrthi."]

H. Beth a ddywed y Bibl ei hun ar y pwnc hwn?

A. Salm xix. 7. "Cyfraith yr Arglwydd sydd *berffaith*, yn troi yr enaid: tystiolaeth yr Arglwydd sydd sicr, ac yn gwneuthur y gwirion yn ddoeth." 2 Tim. iii. 16, 17. "Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn *berffaith*, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Dat. xxii. 18, 19. "Canys yr wyf fi yn tystiolaethu i bob un sydd yn clywed geiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn, *Os rhydd neb ddim at y pethau hyn*, Duw a rydd ato ef y plaau sy wedi eu hysgrifenu yn y llyfr hwn: ac *o thyn neb ymaith ddim oddiwrth* eiriau llyfr y brophwydoliaeth hon, Duw a dyn ymaith ei ran ef allan o lyfr y bywyd, ac allan o'r ddinas sanctaidd, ac oddiwrth y pethau sydd wedi eu hysgrifenu yn y llyfr hwn."

## II. AM HAWL POB DYN I FEDDIANNU A DEFNYDDIO YR YSGRYTHYRAU. (B.)

H. Beth yw barn ac ymarferiad Eglwys Rhufain am hawl y bobl gyffredin i gael ac i ddarllen y Bibl?

A. ["Gan ei fod yn amlwg trwy brofiad, os caniateir y Bibl sanctaidd yn yr iaith gyffredin i bawb yn ddiwahaniaeth, y bydd i hyny, trwy fyrbwylldra dynion, effeithio mwy o ddrwg nag o dda; cyfeirir gan hyny, yn yr achos hwn, at farn yr Esgobion, neu y Chwiliedyddion, y rhai, gyda chyngor yr offeiriad plwyfol, neu y cyffeswr, a allant roddi caniatâd i ddarllen y Bibl, cyfieithedig i iaith y cyffredin gan awduron Catholic, i'r rhai hyny a farnant hwy yn abl i dderbyn trwy ei ddarllen, nid niweid, eithr cynydd mewn ffydd a duwioldeb; ac y mae yn rhaid iddynt gael y caniatâd hwn mewn ysgrifen. Ond pwy bynag a ryfygo ddarllen neu feddiannu y Bibl heb y cyfryw ganiatâd, ni chaiff faddeuant *(absolution)*, heb iddo yn gyntaf roddi i fynu y Bibl i'r swyddog eglwysig."]

H. Beth yw barn Protestaniaid am hyn?

A. [Maent oll yn dal y dylai pawb yn ddiwahaniaeth feddiannu yr Ysgrythyrau, a barnu drostynt eu hunain am y pethau sydd i'w credu, eu profi, a'u cyflawni, er eu cysur presenol, a'u dedwyddwch tragywyddol.]

H. Beth ydyw iaith y Bibl ei hun ar y matter hwn?

A. Mae ynddo orchymynion i chwilio yr Ysgrythyrau, a chanmoliaeth i'r rhai sydd yn gwneuthur hyny. Ioan v. 39. "Chwiliwch yr ysgrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynthwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi." Esa. xxxiv. 16. "Ceisiwch allan o lyfr yr Arglwydd, a darllenwch." Act. xvii. 11. Am y Bereaid y dywedir, "Y rhai hyn oedd foneddigeiddiach na'r rhai oedd yn Thessalonica, y rhai a dderbyniasant y gair gyda phob parodrwydd meddwl, gan chwilio beunydd yr ysgrythyrau, a oedd y pethau hyn felly."

### III. AM Y PAB.

H. A ydyw y Pabyddion yn hòni awdurdod, uwchafiaeth, ac anffaeledigrwydd i'r Pab? (C.)

A. [Ydynt; gelwir ef yn 'Esgob cyffredinol;' 'Tywysog yr Apostolion;' 'Rhaglaw Crist;' 'Ei sancteiddrwydd;' a bod yr Eglwys yn ddarostyngedig iddo ef megys i Iesu Grist.]

H. Beth yw barn Protestaniaid am awdurdod y Pab, ac anffaeledigrwydd?

A. [Dywedant, "Nid oes i Esgob Rhufain lywodraeth o fewn y deyrnas hon o Loegr; ac ni chaniateir anffaeledigrwydd i berson unigol, nac i gymanfaoedd cyffredinol."]

H. Beth a ddywed y Bibl ar y pethau hyn?

A. Mat. xxiii. 8, 9. "Eithr na'ch galwer chwi Rabbi: canys un yw eich athraw chwi, sef Crist; a chwithau oll brodyr ydych. Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear: canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd." Mat. xx. 26, 27, 28. "Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi:

ond pwy bynag a fyno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i chwi; a phwy bynag a fyno fod yn benaf yn eich plith, bydded yn was i chwi: megys na ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." 1 Petr v.3. "Nid fel rhai yn tra-arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw, ond gan fod yn esamplau i'r praidd."

---

## IV. AM BECHOD GWREIDDIOL, BEDYDD, AC AILENEDIGAETH.

H. Beth yw barn Eglwys Rhufain ar y pethau hyn?

A. [Dywedant fod pechod ein natur yn cael ei symud ymaith—"fod Ysbryd Iesu Grist yn cael ei gymhwyso at blant, a rhai mewn oedran, pan weinyddir bedydd iddynt yn iawn yn ol defodau yr Eglwys."]

H. Beth yw tystiolaeth Protestaniaeth am y pynciau yma?

A. ["Nid yw pechod gwreiddiol yn sefyll o ddilyn Adda, eithr bai a llygredigaeth natur pob dyn ydyw a'r a gen-

hedlir yn naturiol o hil Adda, trwy yr hyn mae dyn wedi myned yn dra phell oddiwrth gyfiawnder gwreiddiol, ac yw o'u naturiaeth ei hun a'i ddychwant ar ddrygioni;—ac am hyny yn mhob dyn a enir i'r byd hwn yr haeddai ddigofaint Duw a damnedigaeth." "Nid yw Bedydd yn unig yn arwydd o broffes, eithr y mae hefyd yn *arwydd* o'r Adgenedliad, neu yr Ailenedigaeth." "Mae yn arwyddocau ac yn selio ein himpiad yn Nghrist, a'n bod yn gyfranog o ddoniau y cyfammod gras, a'n rhwymedigaeth i fod yn eiddo yr Arglwydd."]

H. Beth a ddywed y Bibl ar hyn etto?

A. Salm li. 5. "Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd; ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." Eph. ii. 3. "Ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint, megis eraill." Ioan iii. 5. "Iesu a atebodd ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Duw." 1 Ioan i. 7. "A gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod."

### V. AM GYFIAWNHAD.

H. Beth yw barn Eglwys Rhufain ar y pwnc sylfaenol hwn?

A. ["Os dywed neb mai trwy ffydd yn unig y cyfiawnheir yr annuwiol, fel nad yw i ddeall fod dim arall yn ofynol i gydweithredu er meddiannu y gras o gyfiawnhad, ac nad yw yn angenrheidiol iddo gael ei barotoi a'i dueddu gan ysgogiadau ei ewyllys ei hun, bydded anathema."]

H. Beth yw golygiadau y Protestaniaid am gyfiawnhad pechadur?

A. ["Fe'n cyfrifir yn gyfiawn ger bron Duw yn unig er mwyn haeddedigaethau ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist, trwy ffydd, ac nid o herwydd ein gweithredoedd neu ein haeddiant ein hunain."

H. Beth a ddywed yr Ysgrythyr ar y mater mawr hwn?

A. Rhuf. iii. 24, 28. "A hwy wedi eu cyfiawnhâu yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu: Yr ydym ni gan hyny yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb

weithredoedd y ddeddf." Eph. ii. 8, 9, 10. "Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny nid o honoch eich hunain: rhodd Duw ydyw: nid o weithredoedd, fel nad ymffrostiai neb: canys ei waith ef ydym, wedi ein creu yng Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a rag-ddarparodd Duw fel y rhodiem ni ynddynt."

---

## VI. AM FADDEUANT PECHODAU. (D.)

H. Beth yw daliadau y Pabyddion am Faddeuant Pechodau?

A. [Dywedant fod yn yr Eglwys hawl ifaddeu pechodau;--fod haeddiant Crist, a theilyngdod y saint, yn drysoredig yn yr Eglwys,—ac ar gyfrif penydiau ac arian rhoddir rhyddhad oddiwrth gosbedigaethau tymhorol ac ysbrydol.]

H. Beth yw barn Protestaniaid ar hyn?

A. [Eu barn ddiysgog ydyw, nad oes gan un dyn, na chan eglwys chwaith, hawl i faddeu pechodau; ond mai uchel-fraint y Jehofah yn unig ydyw maddeu pechod, ar gyfrif Iawn Crist yn unig.]

H. Beth ydyw tystiolaeth yr Ysgrythyr am Faddeuant Pechodau?

A. Exod. xxxiv. 6, 7. "A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, IEHOFA, IEHOFA, y Duw trugarog, a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd: yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod, a heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn." Esa. xliii. 25. "*Myfi, myfi* yw yr hwn a ddilea dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau." Marc ii. 7. "Pwy a all faddeu pechodau, ond *Duw yn unig?*" Eph. iv. 32. "A byddwch gymmwynasgar i'ch gilydd, yn dosturiol, yn maddeu i'ch gilydd, megis y maddeuodd Duw *er mwyn Crist* i chwithau."

---

## VII. AM WEITHREDOEDD DA.

H. Beth yw barn Eglwys Rhufain am Weithredoedd da?

A. ["Os bydd i neb ddyweyd fod gweithredoedd da y dyn a gyfiawnhawyd yn ddoniau Duw yn y fath fodd fel

nad ydynt hefyd yn deilyngdod daionus y dyn ei hun: neu nad yw yr hwn a gyfiawnhawyd ei hunan, trwy weithredoedd da, y rhai trwy ras Duw a haeddiant Crist a wneir ganddo ef, yn gwir deilyngu cynydd gras, bywyd tragywyddol, a mwynhad o'r bywyd tragywyddol hwnw os bydd efe farw mewn cyflwr o ras, ac hefyd gynydd gogoniant, bydded anathema."]

H. Pa fodd y bernir gan Brotestaniaid am Weithredoedd da?

A. ["Er na ddichon gweithredoedd da, y rhai yw ffrwyth ffydd, ac sydd yn canlyn cyfiawnhad, ddileu ein pechodau, a goddef eithaf cyfiawn farn Duw; etto maent yn foddlon ac yn gymeradwy gan Dduw yn Nghrist, ac yn tarddu yn angenrheidiol allan o wir ffydd, yn gymaint ag y gellir adnabod ffydd fywiol wrthynt hwy, mor amlwg ag y gellir adnabod y pren wrth y ffrwyth."]

H. Beth yw iaith yr Ysgrythyrau am Weithredoedd da?

A. Esa. lxiv. 6. "Eithr yr ydym ni oll megys peth aflan, ac megys bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau: a

megys deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau megys gwynt a'n dug ni ymaith." Tit. iii. 5. "Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." Luc xvii. 10. "Felly chwithau hefyd, gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll ag a orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweision anfuddiol ydym: oblegyd yr hyn a ddylasem ei wneuthur a wnaethom."

---

## VIII. AM WRTHDDRYCH GWEDDI. (E.)

H. Beth yw barn Eglwys Rhufain am Wrthddrych Gweddi?

A. ["Mae y Gymanfa sanctaidd yn gorchymyn i'r holl esgobion ac ereill sydd yn y gwaith o addysgu, fod iddynt yn ddiwyd addysgu y ffyddloniaid mewn perthynas i eiriolaeth y saint, a gweddio arnynt,—gan ddysgu iddynt fod y saint sydd yn teyrnasu gyda Christ yn offrymu eu gweddiau i Dduw dros ddynion, a bod yn dda ac yn fudd-

iol gweddio arnynt gyda gostyngeidd-rwydd."]

H. Beth yw cred ac ymarferiad Protestaniaid am Wrthddrych Gweddi?

A. [Credant mai Duw yn unig sydd yn deilwng o addoliad—ac nad oes ond un Cyfryngwr, sef Iesu Grist, trwy yr hwn yn unig y gellir dyfod at y Tad.]

H. Pa beth a ddywed yr Ysgrythyr Lân ar y pwnc pwysig hwn?

A. Mat. iv. 10. "Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac *ef yn unig* a wasanaethi." Dat. xix. 10. "Ac mi a syrthiais wrth ei draed ef, i'w addoli ef. Ac efe a ddywedodd wrthyf, gwel na wnelych hyn; *cyd-was* ydwyf i ti, ac i'th frodyr y rhai sydd ganddynt dystiolaeth Iesu. *Addola Dduw.*" 1 Tim. ii. 5. "Canys un Duw sydd, ac *un cyfryngwr* hefyd, rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." 1 Ioan ii. 1. "Ac o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyd a'r Tad, Iesu Grist y Cyfiawn."

---

## IX. AM DDELWAU. (F.)

H. Beth yw cred awdurdodedig y Pabistiaid am addoli Delwau?

A. [Haerant yn y modd cadarnaf, "Fod delwau Crist, a Mam Duw, yn wastad y Wyryf, a saint ereill, i'w cael a'u cadw, a bod anrhydedd dyladwy ac addoliad i'w roddi iddynt."]

H. A ydyw Protestaniaid yn rhoddi addoliad i ddelwau?

A. [Nac ydynt : ond i'r gwrthwyneb, credant fod pob dangosiad allanol o wrthddrychau ysbrydol yn dra pheryglus, a phlygu iddynt yn dra phechadurus.]

H. A ydyw y Bibl Sanctaidd yn oleu ar y mater hwn?

A. Ydyw, yn hynod o eglur, yn condemnio gwneuthuriad ac addoliad delwau. Exod. xx. 4, 5, 6. "*Na wna* it' ddelw gerfiedig, na llun dim ar y sydd yn y nefoedd uchod, nac a'r y sydd yn y ddaear isod, nac a'r sydd yn y dwfr tan y ddaear. Nac *ymgryma* iddynt, ac *na wasanaetha* hwynt : oblegid myfi yr Arglwydd dy Dduw, wyf Dduw eiddigus ; yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm casânt ; ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant ac a gadwant fy

ngorchymynion." Act. xvii. 29. "Gan ein bod ni gan hynny yn hiliogaeth Duw, ni ddylem ni dybied fod y Duwdod *yn debyg* i aur, neu arian, neu faen, o gerfiad celfyddyd a dychymyg dyn." 1 Ioan v. 21. "Y plant bychain, *ymgedwch oddiwrth eilunod.* Amen."

---

### X. AM YR ORDINHADAU.

H. Beth a ddywed Pabyddion yn nghylch Ordinhadau y Testament Newydd?

A. [Dywedant fod saith o sacramentau, "wedi ei sefydlu gan Iesu Grist, ac yn angenrheidiol er iachawdwriaeth dynolryw, er nad yw pob un o honynt yn angenrheidiol i bob dyn: sef Bedydd, Cadarnhad *(confirmation)*, Swper yr Arglwydd, Penyd, Enneiniad diweddaf, Urddau, a Phriodas.]

H. Beth a ddywed Protestaniaid ar hyn?

A. ["Y mae dau sacrament a ordeiniwyd gan Grist ein Harglwydd yn yr efengyl; sef Bedydd a Swper yr Arglwydd."]

H. Beth a ddywed Gair yr Arglwydd ar hyn?

A. Mat. xxviii. 19. "Ewch gan hyny a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu *bedyddio* hwy yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan." Luc xxii. 19, 20. "Ac wedi iddo gymeryd bara, a rhoi diolch, efe a'i torodd, ac a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, *Hwn yw fy nghorph* yr hwn yr ydys yn ei roddi drosoch: *gwnewch hyn er coffa am danaf.* Yr un modd y cwpan hefyd wedi swperu, gan ddywedyd, Y cwpan hwn yw'r testament newydd yn fy ngwaed i, yr hwn yr ydys yn ei dywallt drosoch."

---

## XI. AM ABERTH YR OFFEREN, NEU Y MASS.

H. Beth yw golygiadau Eglwys Rhufain am yr hyn a alwant yn Offeren?

A. ["Os dywed neb nad oes yn yr Offeren offrymu i Dduw wir a phriodol aberth; neu nad yw yr hyn a offrymir ddim arall heblaw Crist yn cael ei roddi i ni i ymborthi arno, bydded anathema."]

H. Beth yw golygiadau yr Eglwys Protestanaidd ar hyn?

A. [Barnant nad oes ond un aberth dros bechod, ac i'r aberth hwnw gael ei offrymu gan Grist ar y groes, unwaith am byth; ac nad yw aberthau yr offeren a roddir dros y byw a'r meirw ddim gwell na thwyll a chabledd.]

H. Beth a ddywed Gair yr Arglwydd am ddigonolrwydd a pherffeithrwydd aberth Crist?

A. Heb. ix. 24, 25, 26. "Canys nid i'r cysegr o waith llaw, portreiad y gwir gysegr, yr aeth Crist i mewn; ond i'r nef ei hun, i ymddangos yn awr ger bron Duw trosom ni: nac fel yr offrymai efe ei hun *yn fynych*, megys y mae yr archoffeiriaid yn myned i mewn i'r cysegr bob blwyddyn, â gwaed arall; (oblegyd yna rhaid fuasai iddo yn fynych ddyoddef er dechreuad y byd) eithr yr awrhon *unwaith* yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." Gal. iii. 13. "Crist a'n *llwyr brynodd* oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom: canys y mae yn ysgrifen-

edig, Melldigedig yw pob un sydd yn nghrog ar bren." Heb. x. 14. "Canys ag *un offrwm* y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi ei sancteiddio."

---

### XII. AM SWPER YR ARGLWYDD.

H. Pa fodd y mynega Eglwys Rhufain ei barn am Swper yr Arglwydd?

A. [" Yn y sancteiddiaf sacrament o Swper yr Arglwydd y mae yn wirioneddol a sylweddol gorph a gwaed, enaid a duwdod, ein Harglwydd Iesu Grist, a bod tröedigaeth yn cael ei wneud o holl sylwedd y bara i'w gorph, ac o holl sylwedd y gwin i'w waed; yr hwn droedigaeth a eilw yr Eglwys Gatholic yn Draws-sylweddiad."]

H. Beth a ddywed yr Eglwys Brotestanaidd ar hyn?

A. ["Traws-sylweddiad (neu newidiad sylwedd y bara a'r gwin) yn Swper yr Arglwydd, ni ellir ei brofi wrth yr Ysgrythyr Lân, ond y mae yn wrthwyneb i eglur eiriau yr Ysgrythyr, yn dadymchwelyd naturiaeth sacrament,

ac a roddes achlysur i lawer o ofergoelion."—"Corph Crist a roddir, a dderbynir, ac a fwyteir yn y Swper yn unig mewn modd nefol ac ysbrydol. A'r cyfrwng trwy yr hwn y derbynir ac y bwyteir corph Crist yn y Swper ydyw Ffydd."]

H. Beth a ddywed y Bibl am Ordinhad y Swper?

A. 1 Cor. xi. 26—28. "Canys cynifer gwaith bynag y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, *y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd* oni ddelo. Am hyny, pwy bynag a fwytao'r bara hwn, neu a yfo gwpan yr Arglwydd yn annheilwng, euog fydd o gorph a gwaed yr Arglwydd. Eithr holed dyn ef ei hun; ac felly *bwytaed o'r bara*, ac *yfed o'r cwpan*."

---

## XIII. AM Y PURDAN.

H. Pa beth a ddywedir gan y Pabistiaid am y Purdan?

A. [Dywedant fod y Purdan yn lle

canol rhwng y ddaear a'r nefoedd; a "bod yr eneidiau a attelir ac a boenir yno, yn cael eu cynorthwyo gan offerenau, gweddiau, elusenau, a gweithredoedd da ereill y byw."]

H. Pa beth a ddywedir gan Brotestaniaid ynghylch y Purdan?

A. [" Nid yw athrawiaeth Eglwys Rhufain ynghylch purdan, pardynau, anrhydeddu ac addoli delwau a chreiriau, ac hefyd gweddio a galw ar y saint, ond peth ysmala, o wag ddychymyg, ac heb ei seilio ar un warant o'r Ysgrythyr Lân, ond yn hytrach yn wrthwyneb i Air Duw."]

H. Pa beth ydyw athrawiaeth y Bibl am sefyllfa dynion wedi ymadael â'r byd hwn?

A. Dysgir ni i gredu nad oes ond dau le, a dau gyflwr, yn y byd anweledig, a bod y duwiol yn myned yn uniongyrchol i ddedwyddwch. Luc xvi. 22, 23. " A bu, i'r cardotyn farw, a'i ddwyn gan angelion i fynwes Abraham. A'r goludog hefyd a fu farw, ac a gladdwyd: ac yn uffern efe a gododd ei olwg, ac efe mewn poenau, ac a ganfu Abraham o

hirbell, a Lazarus yn ei fynwes." Luc xxiii. 43. "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir meddaf i ti, Heddyw y byddi gyda mi yn Mharadwys." Phil. i. 23. "Canys y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu; gan fod genyf chwant i'm datod, ac i fod gyda Christ; canys llawer iawn gwell ydyw."

---

## XIV. AM IAITH ADDOLIAD CYHOEDDUS.

H. Beth yw barn ac ymarferiad Eglwys Rhufain am iaith y gwasanaeth cyhoeddus?

A. ["Er bod gwasanaeth yr Offeren yn cynwys addysg mawr i'r ffyddlawn bobl, etto nid ymddangosodd i'r Tadau yn gyfaddas iddo gael ei gyflawni yn mhob man yn yr iaith gyffredin."]

H. Beth ydyw golygiadau Protestaniaid ar hyn?

A. ["Peth llwyr wrthwyneb i Air Duw, ac i arfer y brif eglwys gynt, yw gweddio yn gyhoedd yn yr eglwys, neu weinyddu yr ordinhadau, mewn tafodiaith na byddo 'r bobl yn ei deall."]

H. A ydyw yr Ysgrythyr yn llefaru yn eglur am iaith yr addoliad?

A. Ydyw: 1 Cor. xiv. 2, 6, 14, 16, 19. "Canys yr hwn sydd yn llefaru â thafod dieithr, nid wrth ddynion y mae yn llefaru, ond wrth Dduw: canys nid oes neb yn gwrando; er hyny yn yr ysbryd y mae efe yn llefaru dirgeledigaethau. Ac yr awrhon, frodyr, os deuaf atoch gan lefaru â thafodau, pa lesâd a wnaf i chwi, oni lefaraf wrthych naill ai trwy weledigaeth, neu trwy wybodaeth, neu trwy brophwydoliaeth, neu trwy athrawiaeth? Canys os gweddiaf â thafod dieithr, y mae fy ysbryd yn gweddio, ond y mae fy neall yn ddiffrwyth. Canys os benditbi â'r ysbryd, pa wedd y dywed yr hwn sydd yn cyflawni lle yr anghyfarwydd, Amen, ar dy ddodiad diolch, gan nas gwyr beth yr wyt yn ei ddywedyd? Ond yn yr eglwys gwell genyf lefaru pum gair trwy fy neall, fel y dysgwyf ereill hefyd, na myrddiwn o eiriau mewn tafod dieithr."

### XV. AM GYFRANOGI O'R CWPAN. (Ff.)

H. Beth yw daliadau y Rhufeinwyr am gyfranogi o'r cwpan yn y cymun?

A. [" Y sanctaidd Fam Eglwys—er yr arferid o ddechreuad y grefydd gristionogol y ddwy elfen nid yn anaml, etto gyda chynydd amser, y mae yr arferiad hwnw yn awr wedi newid yn gyffredinol, achosion pwysig a chyfiawn wedi eu dwyn i mewn, a gymeradwyodd yr arferiad o gyfranu *un* elfen yn unig, ac a'i gosododd yn gyfraith; os dywed neb na chynhyrfwyd y sanctaidd Eglwys Gatholic âg achosion a rhesymau digonol i drefnu fod i wyr lleyg, ac eglwyswyr heb fod yn gweinyddu, gyfranogi o'r elfen fara yn unig. neu iddi gyfeiliorni yn hyn, bydded anathema."]

H. Beth yw golygiadau Protestaniaid am hyn?

A. [" Ni ddylid nacau Cwpan yr Arglwydd i'r Lleygion; canys dwy ran sacrament yr Arglwydd, wrth ordinhad a gorchymyn Crist, a ddylid eu gweini i bob Cristion yn gyffelyb."]

H. Beth a ddywedir yn y Bibl am gyfranogi o'r cwpan?

A. Mat. xxvi. 27. "Ac wedi iddo gymeryd y cwpan, a diolch, efe a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Yfwch *bawb* o hwn." Marc xiv. 23. "Ac wedi iddo gymeryd y cwpan, a rhoi diolch, efe a'i rhoddes iddynt: a hwynt *oll* a yfasant o hono." 1 Cor. x. 16. "Phiol y fendith yr hon a fendigwn, onid cymun gwaed Crist ydyw? y bara yr ydym yn ei dori, onid cymun corph Crist ydyw?"

---

## XVI. AM BRIODAS.

H. A ydyw Eglwys Rhufain yn gwahardd priodas?

A. [Ydyw i'r offeiriaid, a "rhai mewn urddau eglwysig."]

H. Beth yw yr athrawiaeth Brotestanaidd am briodas gweinidogion?

A. ["Ni orchymynir i esgobion, offeiriaid, a diaconiaid, trwy gyfraith Dduw, nac i addunedu ystad buchedd sengl, nac i ymgadw rhag priodas: am hyny y mae yn gyfreithlon iddynt hwythau, megys i bob cristionogion ereill,

wreica yn ol eu deall eu hunain, fel y byddont yn barnu fod y peth yn gwasanaethu oreu i dduwioldeb."]

H. Pa fodd y dywed y Bibl am briodas?

A. Heb. xiii. 4. "Anrhydeddus yw priodas *yn mhawb*, a'r gwely dihalogedig: eithr puteinwyr a godinebwyr a farna Duw." 1 Tim. iii. 2, 4, 12. "Rhaid gan hyny i esgob fod yn ddiargyhoedd, *yn wr un wraig*, yn wyliadwrus, yn sobr, yn weddaidd, yn lletteugar, yn athrawaidd. Yn llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda, yn dal ei blant mewn ufudd-dod, ynghyda phob onestrwydd. Bydded y diaconiaid *yn wyr un wraig*, yn llywodraethu eu plant a'u tai eu hunain yn dda." 1 Cor. vii. 2. "Ond rhag godineb, bydded i bob gwr ei wraig ei hun, a bydded i bob gwraig ei gwr ei hun."

---

## XVII. AM Y GYFFES DDIRGEL. (G.)

H. Beth yw athrawiaeth Eglwys Rhufain am Gyffesu Pechodau?

A. [" Os bydd i neb wadu, naill ai i'r sacramentaidd gyffes gael ei sefydlu

trwy ddwyfol orchymyn, neu yr angenrheidrwydd o honi er iachawdwriaeth; neu ddyweyd fod yr arferiad o gyffesu yn ddirgel i'r offeiriaid yn unig, yn estronol i sefydliad a gorchymyn Crist, bydded anathema."]

H. Beth yw daliadau Protestaniaid am hyn?

A. [Barnant mai i'r hwn a ddichon faddeu pechodau y dylid eu cyffesu; oddieithr fod cysur personol, neu anrhydedd crefydd yn'gyffredinol, yn galw am gyffesu i'n cyd-greaduriaid.]

H. Pa fodd y dywedir yn y Bibl am gyffesu?

A. Salm xxxii. 5. "Addefais fy mhechod wrthyt, a'm hanwiredd ni chuddiais: dywedais, *Cyffesaf* yn fy erbyn fy hun fy anwireddau *i'r Arglwydd;* a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod." Salm li. 3, 4. "Canys yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron. Yn dy erbyn di, dydi dy hunan, y pechais, ac y gwneuthum y drwg hwn yn dy olwg: fel y'th gyfiawnhaer pan leferych, ac y byddit bur pan farnech."

Iago v. 26. "Cyffeswch eich camweddau bawb *i'ch gilydd,* a gweddiwch dros eich gilydd, fel y'ch iachaer. Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn."

---

## XVIII. AM RYDDID CREFYDDOL.

H. Beth yw haeriad ac ymarferiad Eglwys Rhufain gyda golwg ar Ryddid!

A. [Haerant fod "hereticiaid ac ymbleidwyr yn parhau dan awdurdod yr Eglwys megys rhai y gellir galw am danynt i'w barnu, eu cosbi, a'u condemnio âg anathema;" ac y mae hanes yr erledigaethau gwaedlyd yn dangos Eglwys Rhufain megys "yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu."] (Ng.)

H. Beth yw egwyddorion Protestaniaeth ar hyn?

A. **[Bod hawl gyfiawn gan bob dyn i farau drosto ei hun yn wyneb y Bibl, a rhyddid i broffesu yn ol ei gydwybod, ac na ddylai neb gael ei erlid oblegyd ei grefydd.]**

H. Beth yw llais y Bibl ar y pwnc hwn?

A. 2 Tim. ii. 24, 25. "Ac ni ddylai gwas yr Arglwydd *ymryson;* ond bod yn dirion wrth bawb, yn athrawus, yn ddyoddefgar, mewn *addfwynder* yn dysgu y rhai gwrthwynebus; i edrych a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd." 2 Cor. x. 4. "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt *gnawdol*, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr." Mat. xxvi. 51, 52. "Ac wele, un o'r rhai oedd gyda'r Iesu, a estynodd ei law, ac a dynodd ei gleddyf, ac a darawodd was yr archoffeiriad, ac a dorodd ei glust ef. Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, Dychwel dy gleddyf i'w le: canys pawb a'r a gymerant gleddyf, a ddifethir â chleddyf." Luc ix. 54—56. "A'i ddysgyblion ef, Iago ac Ioan, pan welsant, a ddywedasant, Arglwydd, a fyni di ddywedyd o honom am ddyfod tân i lawr o'r nef, a'u difa hwynt, megys y gwnaeth Elias? Ac efe a drodd, ac a'u ceryddodd hwynt: ac a ddywedodd, Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi. Canys ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw.*

## DIWEDDGLO.

H. Wedi cydmaru egwyddorion Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth, a'u profi wrth reol y datguddiad dwyfol, beth ydyw eich barn benderfynol?

A. 1. Fod y grefydd Babaidd *yn groes i Air Duw, yn brin yn nghlorian y cysegr, ac yn ateb i'r desgrifiad a roddir o'r Dyn Pechod—yr Anwir—yr Anghrist*—a *Babilon Fawr.* 2 Thes. ii. 3, 4, 7, 8. "Na thwylled neb chwi mewn un modd: oblegyd ni ddaw y dydd hwnw hyd oni ddel ymadawiad yn gyntaf, a datguddio *dyn pechod*, mab y golledigaeth: yr hwn sydd yn gwrthwynebu, ac yn ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn Dduw, neu a addolir; hyd onid yw efe, megys Duw, yn eistedd yn nheml Duw, ac yn ei ddangos ei hun mai Duw ydyw. Canys y mae dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes: yn unig yr hwn sydd yr awrhon yn attal, a ettyl nes ei dynu ymaith. Ac yna y datguddir yr *Anwir hwnw*, yr hwn a ddifetha yr Arglwydd âg ysbryd ei enau, ac a ddilea â dys-

gleirdeb ei ddyfodiad." 1 Tim. iv. 1, 2, 3. "Ac y mae yr Ysbryd yn eglur yn dywedyd yr ymedy rhai yn yr amseroedd diweddaf oddiwrth y ffydd, gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid; yn dywedyd celwydd mewn rhagrith, a'u cydwybod eu hunain wedi ei serio â haiarn poeth; yn gwahardd priodi, ac yn erchi ymattal oddiwrth fwydydd, y rhai a greodd Duw i'w derbyn, trwy roddi diolch, gan y ffyddloniaid, a'r rhai a adwaenant y gwirionedd."

2. Fod y grefydd Brotestanaidd *yn gytunol â'r Gair Sanctaidd, yn sylfaenedig gan Iesu Grist*, ac felly *yn ddwyfol, yn gadarn, ac yn sicr o lwyddo*. 1 Cor. iii. 11. "Canys sylfaen arall nis gall neb ei osod, heblaw yr un a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist." Eph. ii. 20. "Wedi eich goruwch adeiladu ar sail yr apostolion a'r prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben congl-faen." Mat. xvi. 16, 18. "A Simon Petr a atebodd ac a ddywedodd, Ti yw y Crist, Mab y Duw byw. Ac yr ydwyf finau yn dywedyd i ti, mai ti yw Petr, ac ar y *graig hon*

yr adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern nis gorchfygant hi."

H. Beth yw ein *dyledswyddau* fel Cristionogion Protestanaidd yn y *dyddiau presennol?*

A. 1. Bod yn *wir ddiolchgar* i'r Arglwydd am y Bibl Sanctaidd, a'i *ddefnyddio* yn gyson fel *unig* reol ffydd ac ymarweddiad. Salm cxxxviii. 2. "Ymgrymaf tua'th deml sanctaidd, a chlodforaf dy enw am dy drugaredd a'th wirionedd: oblegyd ti a fawrheaist dy air uwchlaw dy enw oll." Salm cxix. 105. "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybr." (H,)

2. Bod yn *dra gofalus am y wir athrawiaeth* yn wyneb pob ymosodiad arni. Judas 3. "Anwylyd, pan roddais bob diwydrwydd ar ysgrifenu atoch am yr iachawdwriaeth gyffredinol, angenrhaid oedd i mi ysgrifenu atoch, gan eich annog i *ymdrech yn mhlaid y ffydd* yr hon a rodded unwaith i'r saint." Tit. i. 9. "Yn *dal yn lew* y gair ffyddlon, yn ol yr addysg, fel y gallo gynghori yn yr athrawiaeth iachus, ac argyhoeddi y rhai sydd yn gwrth-ddywedyd." (I.)

3. Bod *yn ddyfal mewn gweddi ar ran ein llywodraethwyr*, na byddo iddynt roddi eu "nerth i'r bwystfil," a thrwy hyny i fod yn foddion i dynu i lawr farnau Duw ar ein gwlad. Dat. xviii. 4. "Ac mi a glywais lef arall o'r nef yn dywedyd, Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, fel na byddoch *gydgyfranogion* o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phlaau hi." 1 Tim. ii. 1, 2, "Cynghori yr ydwyf am hyny, yn mlaen pob peth, fod ymbiliau, gweddiau, deisyfiadau, a thalu diolch, dros bob dyn; *dros frenhinoedd, a phawb sydd mewn goruchafiaeth;* fel y gallom ni fyw yn llonydd ac yn heddychol mewn pob duwioldeb ac onestrwydd." (L.)

4. Bod *yn ddiwyd i led-daenu yr Ysgrythyrau yn mhlith* y Pabyddion;—*ymddwyn yn garedig* atynt fel dynion;--rhoddi *esamplau* da iddynt;--*gweddio* yn fynych am eu tröedigaeth;—*llawenhau* yn y *llwyddiant* sydd wedi ei ganiatau eisoes, a *dysgwyl* yn *hyderus* am yr amser pan y bydd *gwir grefydd* wedi *llanw* yr holl fyd. 2 Tim. ii. 25, 26. "Mewn *addfwynder* yn dysgu y rhai

gwrthwynebus ; i edrych a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd ; a bod iddynt ddyfod i'r iawn allan o fagl y diafol, y rhai a ddelid ganddo wrth ei ewyllys ef." Dat. xiv. 6, 8. "Ac mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear, ac i bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl. Ac angel arall a ddilynodd, gan ddywedyd, *Syrthiodd, syrthiodd Babilon,* y ddinas fawr hono ; oblegyd hi a ddiododd yr holl genhedloedd â gwin llid ei godineb." Dat. xvii. 14. "Y rhai hyn a ryfelant â'r Oen, *a'r Oen a'u gorchfyga hwynt;* oblegyd Arglwydd arglwyddi ydyw, a Brenin brenhinoedd ; a'r rhai sydd gydag ef sydd alwedig, ac etholedig, a ffyddlon." Dat. xi. 15. "A'r seithfed angel a udganodd : a bu llefau uchel yn y nef, yn dywedyd, Aeth *teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef;* ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd." Amen. (Ll.)

# NODIADAU EGLURHAOL.

## (A.)—Tu dalen 6.

MAE golygiadau Eglwys Rhufain yn cael eu gosod allan yn Mhenderfyniadau a Chatecism Cymanfa Trent, yr hon a gynaliwyd yn y flwyddyn 1545, a'r blynyddau canlynol; ac yn Nghredo y Pab Pius IV. yr hon a gyhoeddwyd yn 1564. Cydnabyddir a defnyddir y cyfansoddiadau hyn fel egwyddorion awdurdodedig yr Eglwys Babaidd trwy y byd; ac am hyny nid oes lle gan y Pabyddion i'n beio pan yn cymeryd eu hymadroddion eu hunain i osod allan bynciau ac arferion eu crefydd. Mae yr hyn a ddywedir am Eglwys Rhufain yn y Catecism hwn wedi ei gyfieithu yn ofalus o'r llyfrau uchod, ynghyd ag ereill o gyffelyb awdurdod.

## (B.)—Tu dalen 9.

Mae yn bosibl y dywed yr Offeiriaid Pabaidd *yn y wlad hon*, nad ydynt yn groes i led-daeniad y Bibl, ac am hyny y mae yn angenrheidiol i ni ffurfio barn, nid oddiar dystiolaeth personau mewn gwlad Brotestanaidd, ond wrth *gredo* eu heglwys, ac *ymddygiadau* eu swyddogion, yn y gwledydd pabaidd, trwy yr holl oesoedd.

Tystia hanesion hen a diweddar, fod ymddygiadau Eglwys Rhufain yn hollol gyson

â'i chredo. Gweithredir yn barhaus yn gytunol â'r rheol hôno o'r *Index* a osodir i lawr yn y Catecism; ac o fewn y blynyddau diweddaf, y mae dau Bab wedi cyhoeddi *bulls* yn erbyn y Bibl Gymdeithas, ac i attal lledaeniad yr ysgrythyrau yn iaith y cyffredin. Canlynwyd esamplau y Pabau hyn gan amryw o Esgobion ar y Cyfandir; ac oddiwrth awdurdod a dylanwad Eglwys Rhufain y eeir y rhwystrau mwyaf i rydd rediad yr ysgrythyrau yn y dyddiau presennol. Paham y gwrthwynebir? Oblegid mai'r Bibl ydyw y llyfr goreu a ysgrifenwyd erioed *yn erbyn* Pabyddiaeth.

(C.)—Tu dalen 11.

Nid yw holl aelodau Eglwys Rhufain o'r un farn mewn perthynas i *eisteddle* yr anffaeledigrwydd a honant. Dywed rhai o honynt mai y Pab ei hun sydd yn anffaeledig; ereill a farnant mai y cynghorau *(councils)* a awdurdodir gan y Pab sydd felly. Nid yw y cwbl ond ffug a thwyll, ac yn hollol groes i Air Duw. Tra byddo yr athrawiaeth hon yn cael ei chredu, mae pob gobaith am ddiwygiad a gwelliant yn ddisail. Yr hyn *oedd* Eglwys Rhufain yn yr amserau gynt *ydyw* hi yn bresennol; a'r hyn *ydyw* a *fydd* hefyd, hyd oni ddinystrir yr Anghrist gan "Ysbryd genau Crist, a dysgleirdeb ei ddyfodiad ef."

## (D.)—Tu dalen 15.

Nid oes dim yn fwy amlwg yn hanes Eglwys Rhufain na bod ei hoffeiriaid yn honi ac yn arfer yr hawl i faddeu pechodau, a rhyddhau oddiwrth gosbedigaethau. Mae yr ysgrifenwyr Pabaidd eu hunain yn crybwyll am werthiant *indulgences*, a hyny i gyflawni y pechodau mwyaf ysgeler. Yn y flwyddyn 1824, fe ddarfu i'r Pab Leo XII. gyhoeddi maddeuant llawn o'u holl bechodau i'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu o'r ddau ryw, os oeddynt yn edifeiriol, ac wedi cyffesu, ac wedi adfywio eu hunain â'r cymundeb sanctaidd ;—ar gyfrif cyflawni rhyw ddefodau (a enwir ganddo ef,) megys ymweled â'r eglwysi yn Rhufain, &c. o fewn blwyddyn y Jubili ganlynol. Os ydym i gymeryd y Bibl yn rheol i farnu wrthi, nid oes un ymresymiad o eiddo y Jesuitiaid yn abl i'n perswadio nad yw hyn yn gabledd rhyfygus.

## (E.)—Tu dalen 18.

Mae y Doctoriaid Pabaidd yn gwahaniaethu rhwng yr addoliad a roddir i'r Creawdwr, a'r hyn a roddir i'r creadur: y cyntaf a elwir yn addoliad uwch-radd (*latria*), a'r llall yn addoliad is-radd (*dulia*)—ond pa le yn y Bibl y ceir gorchymyn neu esampl sydd yn cyfiawnhau rhoddi addoliad i angylion a seintiau?

## (F.)—Tu dalen 19.

Yn Sallwyr (*Psalter*) Bonaventura y mae enw yr Arglwydd wedi ei adael allan mewn amryw o'r Salmau, ac enw *Mair* wedi ei osod yn ei le fel y canlyn:—Sal. li. 1. 'Trugarha wrthyf, O Arglwyddes, yr hon a elwir mam trugaredd; ac yn ol ymysgaroedd dy drugareddau, glanha fi oddiwrth fy holl anwireddau.' Mewn llyfr a ysgrifenwyd gan Alphonzo, a elwir, 'Gogoniant Mair, mam Duw,' ceir gweddiau fel hyn:—'O Iesu, a Mair, bydded i'ch enwau fyw yn fy nghalon, ac yn nghalonau pawb oll. Bydded i mi anghofio enwau pawb ereill er mwyn cofio eich enwau hawddgar chwi yn unig. O Iesu, fy mhrynwr! O Mair, fy mam! pan ddel fy awr olaf--pan fyddo fy enaid yn ymyl ymadael â'r byd hwn—caniatewch, mi attolygaf arnoch, i'm geiriau olaf fod, Iesu! Mair! Yr wyf yn eich caru, Iesu! Mair! I chwi yr wyf yn rhoddi fy nghalon a'm henaid. Amen.'

Mae y cyffelyb ymadroddion yn cael eu defnyddio yn Llyfrau Gweddi y Pabyddion yn y wlad hon ac yn yr Iwerddon. Os oes neb ar y ddaear yn euog o eilun-addoliaeth, diau fod y rhei'ny a ddywedant ar eu gliniau wrth y Fair Forwyn, 'Tydi ydyw unig obaith pechaduriaid. Trwot ti y gobeithiwn am faddeuant o'n troseddau.'

(FF.)—Tu dalen 28.

Wrth gymharu geiriau sefydliad yr ordinhâd gan Iesu Grist, yn Mat. xxvi, a'r hyn a ddywedir gan Paul yn 1 Cor. xi. gwelir yn amlwg mai rhagorfraint pawb o ganlynwyr Crist—y dysgyblion yn gyffredinol, yn gysa'r apostolion yn neillduol--ydyw cyfranogi o'r cwpan yn gystal ag o'r bara. Mae arferiad Rhufain yn hyn yn groes i osodiad Pen yr Eglwys.

(G.)—Tu dalen 31.

Diau fod *cyffesu* ein pechodau yn ysgrythyrol, ond nid yn yr ysbryd a'r arferiad babyddol. 'Cyffeswch bawb i'ch gilydd,' a ddywedir, ac nid yn ddirgel i'r *offeiriad yn unig*. Y mae y *gyffes ddirgel* yn un o brif golofnau teyrnas Anghrist, ac i'w gyfrif yn mhlith y drygau gwaethaf, yn gymaint a bod yr arferiad yn rhoddi i'r offeiriaid awdurdod a dylanwad nad yw yn perthyn i ddynion.

(NG.)—Tu dalen 33.

Onid yw'r Eglwys Babaidd wedi gweithredu yn gytunol â'r erthygl hon o'i chredo? Arferodd ei hawdurdod i ddifa saint y Goruchaf, ac mae 'Ardderchog lu y Merthyri,' yn dystion yn ei herbyn am ei hysbryd erledigaethus. Yn Paris, ar ddiwrnod *du* St. Bartholomew, lladdwyd deng mil a phum cant (10,500) o Brotestaniaid; ac yn nhaleithiau Ffrainc lladdwyd deugain mil (40,000) yn

ychwanegg. Achosodd hyn lawenydd mawr yn Rhufain, a'r Pab Gregori XIII, a barodd i fathodyn (*medal*) gael ei wneuthur er coffa parhaus am y diwrnod, ar yr hwn y dinystrwyd y rhai a alwent hwy yn hereticiaid.

Yn Mrydain hefyd, yn amser teyrnasiad Mari waedlyd, esgobion, offeiriaid, boneddigigion, amaethwyr, crefftwyr, gwragedd a phlant, hyd at yn agos i 300 o rifedi, a ferthyrwyd trwy eu llosgi yn y tân; tra y newynwyd, ac y nychwyd llawer ereill i farwolaeth yn y carchardai.

Mae y Pabyddion yn ymffrostio fod eu hegwyddorion yn *anghyfnewidiol*—caniateir hyn iddynt yn rhwydd, oblegyd gwnant yn y dyddiau presennol, lle y mae yr *awdurdod wladol o'u plaid*, yr hyn a wnaethant yn y dyddiau gynt. Mae yr erlidigaethau a oddefir yn awr yn Tahiti, Madeira, a rhanau o'r Cyfandir, yn brawf o anghyfnewidioldeb eu hysbryd erlidigaethus.

## (H.)—Tu dalen 37.

'Y Bibl ydyw crefydd y Protestaniaid:' ac y mae ein diogelwch oddiwrth Babyddiaeth yn ymddibynu, nid ar 'Lw y coroniad,' nac ar gadernid ein sefydliadau gwladol ac eglwysig, ond ar ein hymlyniad diysgog wrth 'y Bibl, yr holl Fibl, a dim ond y Bibl.'

(I.)—Tu dalen 37.

'Mewn undeb y mae nerth,' ac yr ydym yn hyderu y bydd yr ymdrechion a wneir yn bresennol i chwanegu cariad, undeb a chydweithrediad yn mhlith Cristionogion, yn foddion yn llaw yr Arglwydd i gadw yn ein plith holl fendithion a rhagorfreintiau y diwygiad mawr protestanaidd.

(L.)—Tu dalen 38.

Gofidus ydyw meddwl fod miloedd o bunnau o arian y wlad hon yn myned i gynal Pabyddiaeth yn yr Iwerddon a lleoedd ereill; a bod rhyw dueddfryd cryf yn ymddangos y'mhlith ein seneddwyr i waddoli Eglwys Rhufain. Etto i gyd, yn lle beio ar ein llywodraethwyr y peth goreu a fyddai gweddio llawer ar eu rhan, a dymuno ar yr Arglwydd i godi i fynu yn ein plith ddynion yn berchen ar ysbryd yr hen ddiwygwyr, i dystiolaethu yn wrol yn erbyn cyfeiliornadau Rhufain, ac i amddiffyn y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu.

(Ll.)—Tu dalen 39.

Er mwyn cryfhau ein breichiau yn yr ymdrech i led-daenu y Bibl yn mhlith y Pabyddion, rhoddir i ni y profion mwyaf sicr nad yw y llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Derbynir yn barhaus y newyddion mwyaf cysurus o Ffrainc. Mewn araeth a draddod-

wyd yn Llundain, gan weinidog enwog o'r wlad hono, ceir yr hyn a ganlyn :—" Yr ydym yn edrych ar yr ysgogiad sydd yn myned yn mlaen gyda syndod mawr. Yr ydym wedi defnyddio dadleuaeth yn ddigon hir; —yr ydym wedi pregethu ac wedi ysgrifenu yn erbyn Pabyddiaeth, ond yn ddi-effaith. Gweithrediadau dystaw y Bibl, gyda dylanwadau yr Ysbryd Glân, sydd wedi effeithio y cyfnewidiad; ac yr ydym yn attolygu ar y Bibl Gymdeithas i beidio a llaesu yn ei hymdrechiadau i led-daenu yr ysgrythyrau sanctaidd yn nheyrnas Ffrainc.'

---

## EMYN I BLANT Y PROTESTANIAID.

1 Nis gwnawn roi 'fynu 'r Bibl,
Pur eiriau sanctaidd Duw,
Bendigaid ffon yr henwr gwan,
Arweinydd ie'nctyd yw;
A lamp a daen oleuni clir
Ar dywell ffordd yw ef,
A llais o gariad Iesu Grist
I'n harwain fry i'r nef.

2 Nis gwnawn roi 'fynu 'r Bibl,
Can's ef yn unig sy
Yn d'weyd am ffordd i'n cadw byth
Rhag poenau uffern ddu:
Ac ef yn unig dd'wed pa fodd
Y cawn faddeuant llawn;
A gobaith am drigfanau'r nef,
Trwy waed y dwyfol Iawn.

3 Nis gwnawn roi ' fynu 'r Bibl,
Er maint y llid a'r twrdd,
A dichell Rhufain fawr ei ffrost
Am ddwyn ein perl i ffwrdd:
Enhuddent hwy ein henaid cu
Yn nh'w'llwch dunos hir—
Ond yn y Bibl gafael wnawn,
"A Duw ddiffyno'r gwir."

4 Nis gwnawn roi ' fynu 'r Bibl,
Ond pe lladratent ef,
Sy'n gwneud y ffol yn ddoethaf wr
Yn mhethau mawr y nef:
Y geiriau a ddysgasom gynt
Yn more 'n hoes ddi lyth,
Gaiff fod i'n harwain gam a cham,
A chyfaill ini byth.

5 Nis gwnawn roi ' fynu 'r Bibl,
Cydrown un lef yn awr,
Nes bo 'n adseinio ymhell tu hwnt
I'r tonawg foroedd mawr;
Nes clywo pawb fod plantos mân
Yn drech na'u dichell hwy;
Ac â phur eiriau sanctaidd Duw,
*Byth, byth*, ni 'madwn mwy!

Cyf. TEGIDON.

D.S. Cyfaddaswyd yr Emyn uchod i'r don Lutheraidd 'Wittemberg,' yr hon, ynghyda'r don, a argraffwyd ar gerdyn, ac a werthir am 1g. yr un, neu ar bapur am ddimai.

Caerlleon: argraffwyd gan T. Thomas.

# HYSBYSIAD CENADOL;

YN RHODDI

## DARLUNIAD BYR

O

# SEFYLLFA Y BYD MOESOL,

YNGHYD A

## GWEITHREDIADAU

## CYMDEITHAS GENADOL LLUNDAIN.

YR AIL ARGRAFFIAD.

LLANELLI:

ARGRAFFWYD GAN REES A THOMAS.

1840.

# AT Y CYHOEDD.

DARLLENWYD sylwedd yr hyn a ganlyn yn Nghyfarfod Cenadol Sir Gaerfyrddin; a chan fod llawer o anwybodaeth yn awr yn y wlad o barthed i'r achos Cenadol, annogwyd fi gan fy mrodyr i'w anfon allan i'r byd; ac ar eu cais, wele ef. Anfonir y sypynau i'r gwahanol Eglwysi, gan ddymuno arnynt oll eu gwerthu am geiniog yr un, a gosod hanner y cynnyrch at ei chasgliad Cenadol; a'r hanner arall er clirio y draul o'i argraffu, i'r gweinidogion a ddeuant heibio yn achos y DIWYGIWR.—Lle gwerthir cant, bydd 4s. 2g. i'r casgliad, a 4s. 2g. at y draul.

D. REES.

*Llanelli, Tach.* 20, 1839.

# Hysbysiad Cenadol.

---

Maes y Genadiaeth, medd Iesu Grist, ydyw y byd; er nad ydyw ond cae bychan mewn cyferbyniad i lawer un sydd dan olygiaeth ein Tad, mae yn amlwg ei fod yn ëang a chwmpasog: nid llawer ydyw yn fyr o bum mil ar hugain o filldiroedd o gwmpas, ac y mae yn agos iawn i wyth mil o filltiroedd o dryfesur, neu yn groes. Rhenir ef gan natur i bedwar dosparth, sef Ewrop, Asia, Affrica, ac America. Gwedi yr ymchwiliadau manylaf ceir fod o naw i ddeg can miliwn-o anfarwolion yn trigiannu y dosparthau hyn, ynghyd ag anneirif ynysoedd a hauwyd gan ddwrn ein Ior ar fynwes y dyfnder mawr; a pheth cymhwys iawn ydyw cofio hefyd mai perthynasau agos o'r un-dad a'r un-fam â ni ydynt eu gyd, "Oblegid o un gwaed y gwnaeth Duw bob cenedl o ddynion i breswylio ar holl wyneb y ddaear;" a chofier y bydd ein Tad cyffredinol yn gofyn i rywrai yn y farn a ddaw, "Mae Abel dy frawd?" a chan fod darpariaethau y nef yn ddigon mawr, y feddyginiaeth yn ddigon addas, a'r wisg yn ddigon ëang i bawb, bydd gwaed y rhai fyddo ar goll ar ddwylaw rhywrai, os trwy ddiogi, syrthni, a chy-

bydd-dod y syrthiant yn fyr o deyrnas nefoedd. Mae yn weddus i ni ddeffroi ac edrych yn fanylgraff tros wahanol gyrau y maes, fel yr ymroddom i'w drin â gwybodaeth o Dduw. Heblaw Anffyddiaeth a Deistiaeth, mae y crefyddau a ffynant i'w dosparthu yn bedair, sef Paganiaeth, Mahometaniaeth, Inddewaeth, a Christionogaeth. Paganiaeth ydyw yr enw a roddir i goel-grefydd y Cenedloedd, a'r llwythau ynt yn amddifaid o'r datguddiad Dwyfol, ac o unrhyw ddrych-feddyliau cywir am Dduw. Mae y rhan amlaf o honynt wedi derbyn trwy draddodiadau rhyw dybiau dychymmygol am Fôd goruchel, ond tybiant ef yn rhy uchel i wneyd unrhyw sylw o bethau daearol; o ganlyniad, galwant ar, a molianant luaws aneirif o dduwiau is-raddol: nid oes un ddeddf o unffurfiad yn eu mysg —*mae pob un yn cael dewis ei dduw.* Mae rhai llwythau yn Neheudir America nad oes ganddynt un drychfeddwl am Dduw, nac unrhyw ffurf na defod o addoliad mwy nag anifeiliaid. Ond yn gyffredin mae y Paganiaid wedi eu dysgu i addoli gan eu rhieni, plygant gerbron delwau anferth a ffiaidd yr olwg arnynt: rhai wedi eu gwneyd o goed, ereill o bres, ac ereill o haiarn, &c. Dywed y rhai callaf mai defnyddio y rhai hyn wnant i gynnrychioli y duwiau, ond y werin yn gyffredin a ddywedant wrthynt,

"Chwi! chwi ydyw ein duwiau ni!" Defnyddiant amryw gyfryngau, megys rhieni rhinweddol, gwroniaid dewr a medrus ar faes y gwaed, deddfroddwyr call a synwyrlawn, breninoedd urddasol: ac er i'r cyfryngau wneyd eu goreu drostynt rhoddir addoliad iddynt hwy yn eu tro trwy y delwau fyddo yn eu cynnrychioli. Addolir y rhai hyn trwy benydiau, pererindodau, aberthau drudfawr, a gweddiau lliosog. rhai er boddloni eu duw a yfant drwnc buchod yn ferw nes syrthio yn farw—ereill a orweddant ar wely picellog nes gwaedu i farwolaeth—ereill a gofleidiant ddelw danllyd, ac a fyddant farw yn ei breichiau—rhai a ddaliant eu breichiau yn syth heb eu tynu i lawr am flynyddau—sylla rhai ar yr haul o hyd—miliwnau o blant bach ydynt yn cael eu lladd bob blwyddyn, ac y mae y lleiddiaid yn golygu eu bod yn gwneuthur gwasanaeth i'w duwiau. Pallai lle i mi yn hyn o hysbysiad i ddangos y modd y bu i grefydd i ddirywio, ond gellir sylwi mai esgeulusdod rhieni i iawn egwyddori y plant, a chydiad crefydd â'r wladwriaeth oedd yr achos gan mwyaf. Pan wasgarodd dynolryw oddiwrth Noah, traddodwyd y wybodaeth grefyddol oedd gan Noah i lawr am dipyn, ond aeth traddodiad dywyllach dywyllach, nes iddi fyned yn hollol dywyll. Ar ol esgyniad Iesu Grist i ogoniant parhaodd

y byd yn oleu nes i Constantine gyssylltu crefydd â llywodraeth, yna tywyllodd yr aur coeth da: ymadawodd yr efengyl â llawer gwlad lle y bu yn tanbeidio yn ddysglaer, a rhoddwyd manteision digyffelyb i dwyllwyr i hudo y wlad; ond er mor resynol ydyw agwedd y byd Paganaidd, mae o leiaf, o bum i chwe chan miliwn yn y sefyllfa druenus hon. Yn nesaf, mae Mahometaniaeth yn gorchuddio darn mawr o'r maes. Yn y flwyddyn 611, pan oedd cyssylltiad anachaidd crefydd â llywodraeth wedi anafu y blaenaf, cododd twyllwr medrus o'r enw Mahomet, yr hwn a ddygwyd i fynu gan ewythr cyfoethog, a phan yn 25ain oed aeth i wasanaeth gweddw gyfoethog iawn o'r enw Cadijah, yr hon yn fuan a briododd a bu yn tramwyo i Syria, Palestine, a'r Aifft fel marsiandwr. Yr oedd y pryd hwn yn hynod hunanol ac anfoesol; ond yn ei 38ain oed, barnodd y gallasai dwyllo y wlad: gwisgodd yr enw proffwyd â gradd helaeth iawn o ffug-santeiddrwedd—ymneillduodd i ogof Hira, yn agos i Mecca, a haerai ei fod mewn cyfrinach parhaus â'r angel Gabriel am yspaid dwy flynedd, a thrwy gynnorthwy dau dwyllwr a lygrid gan ei arian ef, cyfansoddwyd y Koran i fod yn lle y Bibl: Mae cynnwysiad hwn yn fath o gymmysgwch o Iuddewaeth, Cristionogaeth, a Phaganiaeth, fel mae ar lun crefydd, ac

hefyd yn hollol gydweddol â'r natur ddynol yn ei llygredigaeth fwyaf resynol. Hònai Mahomet ei fod wedi ei anfon gan Dduw, fel proffwyd i gyweirio crefyddau y byd, a gorfodi dynion i addoli eu Creawdwr yn ol ei drefn, ac aeth allan i hudo y bobl nes daeth ei ganlynwyr yn ddigon cyfoethog i gymmeryd y cledd er gwthio ei gredo ar y byd. Mae o leiaf yn awr 200,000,000 yn ddilynwyr i'r gau-broffwyd hwn, y rhai nad ydynt amgen o ran eu sefyllfa foesol nâ'r Paganiaid. Yn nesaf, deuwn at Iuddewaeth. Mae o bedair i bum miliwn o had Abraham yn gorwedd dan y felldith ofnadwy hòno a ddymunodd eu tadau, "Bydded ei waed ef arnom ni ac ar ein plant," yn llwyr ymwrthod â'r Testament Newydd, ac yn dysgwyl y Messia i ddod, a'r gaddug dros eu llygaid. Yn nesaf deuwn at y grefydd Gristionogol. Yma rhaid i ni gymmeryd i mewn Eglwys Rhufain, Eglwys Groeg, ac Eglwys Lloegr. Nid oes amheuaeth genyf nad oes miloedd wedi myned i ogoniant trwy eglwysi Groeg a Rhufain, yn gystal â thrwy Eglwys Lloegr; ond y mae mor ddiamheuol â hyny fod miloedd ar filoedd wedi methu y nôd eisiau ychwaneg o oleui, a gosod yr eglwysi hyn ar well sylfaen. Taflwn olwg dros Ewrop, y rhan fwyaf gwrteithiedig o'r maes, lle mae yr eglwysi uchod wedi bod yn teyrnasu â llaw

grefer ys cannoedd o flynyddoedd, ni a welwn gadwyn wladol wedi ei thaflu em grefydd *er* ei dal i fynu; ond wrth ei dal mae wedi ei llethu, gwelir cyfeiliornadau yn cael eu parhau, a llygriadau mwy niweidiol nâ Phaganiaeth yn cael eu mheithrin, fel nad oes fawr o lun y Testament Newydd ar y crefyddau sydd dan wregys llywodraethau daearol trwy wahanol wledydd ëang Ewrop. Diosger yr urddas wladol a'r cnawdolrwydd damniol sydd wedi diwyno crefydd, tŷner ymaith yr holl hen gadachau drewedig o ddynol draddodiadau sydd yn cuddio ei symledd, ysgydwer ymaith y rhai sydd yn proffesu Cristionogaeth ac yn byw yn baganaidd—Gwelir yn amlwg mai ychydig ydyw yr enwau sydd gan Iesu Grist yma heb halogi eu gwisgodd.

Dechreuwn yn Sweden, gan gymmeryd i mewn Norway a Lapland. Gwelir yno tua phedair miliwn yn ymddyrysu yn seremonau Lntheriaeth ddirywiedig, heb fawr rhyngddynt ac ysgwyd llaw ag eglwys Rhufain: cadwant wyliau, misoedd a diwrnodau, gorbarchant seintiau, ac yn mhob peth y maent yn dra choelgrefyddol; ond dymunol ydyw meddwl fod miloedd o honynt yn cyrhaedd paradwys wrth lewyrch y goleu gwan sydd ganddynt. Awn rhagom i Rwssia, canfyddir rhyw gyfnos ddiwaith a digysur yn gordoi yr ëangder diderfyn, nid

ydyw yno na dydd na nos. Gwelir yno tua hanner can miliwn o anfarwolion yn ymbalfalu yn nghorsydd lleidiog traddodiadau eglwysi Groeg a Rhufain, yn taer waeddu am ychwaneg o oleuni, fel na ddifether hwy o eisieu gwybodaeth. Yn nesaf, cawn Poland yn wlad fawr, ëang, yn agos yn nghanol Cyfandir Ewrop, yno mae yr hinsawdd yn dymherus, a'r tir yn ffwythlon, a thuag un filiwn a'r bymtheg o drigolion yn rhoddi eu gallu i raddau mawr i'r bwystfil, ond y mae yno ychydig enwau hefyd yn ffyddlon. Yn Denmark, mae dros bedair miliwn o'r un gwaed â ni Gymry, wedi gadael symledd crefydd yn mhell iawn, ac yn ymlynu wrth draddodiadau dynol i raddau gormodol. Yn Prwssia, mae y boblogaeth yn dair miliwn arddeg, mae tua saith miliwn yn ffafriol i symledd Cristionogaeth, a'r lleill yn Babyddion, Lutheriaid ac Iuddewon. Yn y Netherlands, sef Holland a Belgium, ceir o wyth i naw miliwn, a llawer yno yn gofyn, Beth a ddywed yr eglwys, ac nid Beth a ddywed yr Arglwydd: a llaw halogedig y llywodraeth sydd fel eiddo Uzza, yn estynedig at yr arch. Mae pob math o bregethwyr yn derbyn eu cyflog o'r drysorgyff wladol. Yn Germany, yn cynnwys Bavaria, Saxony, Hanover, Wirtemburg, Baden, gwelir tua 30 miliwn o drigolion, ac mae yn agos eu hanner yn ymddyrysu yn ngafaelion

coel-grefydd, neu yn rhewi yn nghrafangau gau-gredöau anysgrythyrol, di-wres, a digrist. Yn Austria, mae tua 30 miliwn yn trigiannu, a Phabyddiaeth yn sefydledig yn eu mysg, ac ychydig iawn o wir grefydd sydd yn ffynu. Yn Twrci, a chymmeryd i mewn y darn sydd yn Asia, mae tua phum miliwn ar hugain, gydag ychydig eithriadau, yn dilyn y gau-broffwyd Mahomet, wedi ymwrtod yn hollol â gair Duw a'r temlau a santeiddiwyd unwaith gan bresennoldeb a gweinidogaeth apostolion ydynt yn awr yn garneddau, neu wedi eu halogi gan chwedlau gwrachiaidd Coran y Mahohomet. Itali, yr hon fu unwaith yn enwog fel canolbarth yr ymerodraeth fawr Rufeinig, ac yn adseinio pereiddlais efengyl Iesu, sydd yn awr yn gaddug o dywyllwch ellir ei deimlo, a'r ddinas fawr lle bu Paul yn pregethu efengyl heb gywilydd sydd yn awr yn eisteddle i'r "dyn pechod;" ac yn y wlad dywyll hon gwelir tua thair miliwn ar ddeg yn cael eu gwenwyno gan ei anadl. Yspaen sydd newydd ei haredig gan ryfel gartrefol, yn flaenorol i'r hwn yr oedd ynddi 14 miliwn yn ymdreiglo mewn tywyllwch, ac yn gorwedd mewn drygioni, a phum miliwn Portugal ydynt hefyd yn yr un amgylchiad. Hwyrach nad oes darn o'r ddaear yn ffrwythlonach ei weryd, yn fwy tymherus ei hinsawdd, yn fwy iachus ei awyr, ac yn

fwy manteisiol i fasnach, ond rhoddant eu gallu yn hollol i'r bwystfil. Ffrainc, nid yw hyd yn hyn mewn nemawr gwell amgylchiad; rhwymwyd crefydd â llywodraeth yma nes i'r blaenaf lwyr drengu, a'r ail fod yn agos iawn a diflanu. Wedi i goel-grefydd esgyn i'w phinacl, a thwyll-offeiriadaeth gyrhaedd ei heithafoedd, heigiodd filiynau o Ddeistiaid ac atheistiaid, ac esgorodd ar annuwioldeb, y fath ni welwyd o'r blaen er creadigaeth y byd. Soddodd yr ymerodraeth i orbwll annuwiaeth, gair Duw a anmherchid yn gyhoeddus, y Sabboth a ddilewyd o rifres diwrnodau, y cyssegr a halogwyd, gwreichionodd uffern i'r wlad, a chwythwyd y gwreichion ar led gan anadl ddrewedig Voltaire a'i gymdeithion, nes difa gwyrddlesni rhinwedd a moesoldeb o gŵr i gŵr i'r wlad, ond yn awr, mae ychydig dystion dros Dduw yn mhlith y 32 miliwn a drigiannant yn y wlad ëang a ffrwythlon hon. Os edrychwn gartref, gallwn farnu fod gwledydd tramor yn barod i ddywedyd wrthym pan yr anfonir y feddyginiaeth iddynt hwy, "Y meddyg, iachâ dy hun." Mae yr Iwerddon yn dywyll, a miloedd yn Nghymru, Lloegr a'r Alban, er maint ydyw ein swn am ein Protestaniaeth a'n crefyddoldeb ydynt yn byw fel Paganiaid. Pa gynnifer o filoedd a ymfoddlonant ar gymuno unwaith neu ddwy y flwyddyn, ac yn barnu yr egyr *sacrament* gwely angeu

ddorau paradwys iddynt yn y diwedd? A pha gynnifer o filoedd sydd etto yn annuwiaid ymarferol a chyhoeddus yn y wlad oleuaf ar y ddaear? "O na bai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynnonau o ddagrau" am drueni fy ngwlad. Tröwn ein golwg yn awr i Asia, mae adgofion pleserus yn nglŷn â'r wlad hon; yma lle ganwyd dynoliaeth—lle magwyd ein rhieni—lle bu y patriarchiaid byw—lle rhoddwyd y ddeddf—yma lle tiriodd Tywysog ei hiechydwriaeth ar neges o drugaredd i fyd wedi ei golli—yma lle y maeddwyd uffern—y dibenwyd camwedd—y daeth cyfiawnder tragywyddol i mewn—oddiyma yr aeth yr apostolion, y cenadwyr cyntaf ericed allan dros y byd adnabyddus y pryd hwnw—yma y cododd Haul y Cyfiawnder yn ei gwres a'i goleu tanbeidiol ar y ddaear—oddiyma yr aeth cnwd o dduwiolion i ogoniant—ond beth ydyw yn awr? Gwlad o dywyllwch dudew, gwlad yr eilunod, a'r delwau cerfiedig. Edrychwn i China fras, iaith pa un a siaradir gan draian yr hil ddynol, gwelir hi yn debyg i ddyffryn yn llawn o esgyrn sychion iawn heb genad i broffwydo iddynt. Mae ei phyrth yn nghau, a'i mhuriau yn drwchus, a'r miliynau wedi ymroddi i eulunod. Edrychwn wedi hyny, yn ddeheuol i China, gwelir India, gwlad fawr, yr hon gafodd ei henw, meddynt, oddiwrth yr afon Indus;

trigiannir hi gan uwch dau can miliwn o drigolion, gan mwyaf yn eilun-addolwyr, yn Fahometaniaid a Deistiaid. Yn Hindostan, ymerodraethau Burman, Siam, Tonquin, a Malacca, dywedir fod tua thri chan mil o wahanol dduwiau yn cael eu haddoli. Mae tua'r wythfed ran yn Fahometaniaid a Deistiaid, ond ychydig iawn sydd o Gristionogion. Yn Tartary, mae tuag un filiwn ar ddeg yn addoli y creadur yn fwy nâ'r Creawdwr, a rhai yn Fahometaniaid. Mae y Tartariaid yn byw mewn pebyll ar yspail a lladrad, heb eu gwareiddio erioed. Deuddeg miliwn a'r hugain Japan ydynt hefyd yn y tywyllwch dudew.

Mae deng miliwn Persia yn Fahometaniaid, a Phaganiaid, y rhai addolant yr haul a'r tân; ac y mae tua deuddeg miliwn yn Arabia, yn grwydriaid anwareiddiedig, ac i gyd yn eilun-addolwyr, neu yn Fahometaniaid. Dyna gipolwg ar brif-deyrnasoedd a chenedlaethau cyfandir Asia, yr hwn sydd dros saith mil o filldiroedd o hyd, a thros bump mewn lled; ac O! mor dòr calonus yw yr olygfa. Ac mae yr ynysoedd aneirif a lluosog eu trigolion, sydd yn ymylu ar y cyfandir mawr hwn, yn iselach fyth mewn agwedd grefyddol.

Affrica, wedi hyn, nid yw ddim yn well. Mae y cyfandir hwn tua phum mil o filldiroedd o hyd, ac yn amrywio yn ei led

o 500 i 4000. Gwlad yr elephantiaid, y llewod, a phob creaduriaid ysglyfaethus ydyw, ac nid yw y rhai hyn ond darlun o garitor a nodweddiad ei thrigolion annedwydd a barbaraidd; er nad ydyw mor aml ei thrigolion ag Asia, mae yn llawer îs mewn moesau a gwareiddgarwch; oblegid yn absennoldeb crefydd nid oes yno fawr o fasnach yn cael eu dwyn yn mlaen â chenedloedd a gwledydd gwareiddiedig ereill, er ei bod yn nghanol y ddaear, ac yn fwy cyfleus i farsiandiaeth, nag un parth arall; etto, nid oes yma ond tywyllwch a barbareiddiwch; ac oddieithr rhyw ychydig ganwyllau mae y Gymdeithas Genadol wedi eu cynneu yn y Deheudir, yn ngwlad yr Hottentotiaid, mae yn dywyll.

America, y dosbarth ëangaf o'r byd o lawer; mae tua deng mil o filldiroedd o hyd, ac yn amrywio o 60 i 4000 o led, ac yn cynnwys o leiaf 50 miliwn o drigolion. Yn y Deheubarth nid oes nemawr ond dudew dywyllwch Paganiaeth a Phabyddiaeth o'r fath dywyllaf ac erchyllaf. Yn Ngogledddir America, mae crefydd yn yr Unol Daleithau yn rhydd oddiwrth hualau llywodraeth wladol; ac fe allai mai hon ydyw y darn lle mae crefydd yn cael mwyaf o chwareu teg o bob man ar y ddaear; dyma lle mae hefyd yn fwyaf llewyrchus, a dysgeidiaeth yn fwyaf blagurus. Mae yn

esmwythâd i'r meddwl wrth fwrw golwg ar wledydd y ddaear, a'u gweled yn nghadwynau twyll-offeiriadaeth, i ganfod un darn yn RHYDD; ond mor ëang ydyw y wlad, fel mae llawer o waith heb ei wneuthur etto, ond fe'i dygir i ben yma, gan nad oes un eglwys yma i barlysu ymdrechion haelion Cristionogion rhydd yn yr Unol Daleithiau. Mae darnau mawr o'r cyfandir hwn dan lywodraeth Lloegr, yno y mae Eglwys Sefydledig, ond ei bod yn Babaidd. Mae yr aneirif ynysoedd sydd yn addurno wyneb y dyfnder mawr, yn dywyll iawn agos eu gyd. Y rhai ëangaf ydynt Borneo, mae hon yn 800 milldir o hyd, ac yn 700 o led, ac ynddi dair miliwn a hanner o leiaf, nid ydynt well nâ gwylltfilod. Java sydd 650 o hyd, 130 milldir o led, a rhifedi y trigolion yw tua 6 miliwn; nid oes yma ddim ond eilunaddoliaeth. Sumatra sydd tua mil o filldiroedd o hyd, a 165 o led; ei phoblogaeth a gyrhaedd o leiaf 4 miliwn yn hollol anwybodus am Iesu wedi ei groeshoelio. Papua sydd 1200 o filldiroedd o hyd; mae y trigolion yn farbaraidd. Celebez a drigiannir gan 4 miliwn o leiaf, yn addoli yr haul a'r lleuad. Yr ynysoedd uchod, ynghyd â channoedd ereill llai eu maintioli, ond nid yn well eu cyflwr, a elwir India Ddwreiniol. Yn yr India Orllewinol y mae Cuba, Jamaica, Hispaniola, a Porto Rico, ynghyd

ag aneirif ynysoedd bychain ydynt yn lled ddrwg eu cyfiwr i gyd.

Yr ynysoedd Affricanaidd ydynt Madagasgar a'r Mauritius: y blaenaf sydd tua 900 milldir o hyd, ac o dri i bedwar cant o led, yn cynnwys o leiaf 3 miliwn o drigolion yn y radd ddyfnaf o drueni, yn ddeillion, ac ni fynant weled—yn gleifion, ac ni fynant wellhad; ac nid yw Mauritius, er dan lywodraeth Lloegr, ond isel iawn o ran ei sefyllfa foesol. Holland Newydd, yr hon a gyfrifir yn fath o gyfandir, sydd yn y Môr Tawel, mae dros 2 fil o filldiroedd o hyd, ac yn agos yr un lled, ac annichonadwy fod y trigolion yn îs mewn moesau, ac yn fwy anwybodus nag ydynt. Mae cannoedd o ynysoedd ereill yn cael eu trigiannu gan filiynau o drigolion i fyw byth, na allwn yn bresennol eu henwi na'u cyfrif; ond y maent i gyd yn llyfr Duw, ac yn gyfrifedig ganddo ef. Ymddengys cyrau y maes yn helaeth, ei drigolion yn lluosog, a'u cyfiwr yn resynol, a'r gwaith yn fawr, ond nid yn ormod i ymaflyd ynddo yn egniol, tra fyddo gorchymyn Duw o'r tu cefn i ni, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur," ac addewid Duw o'n tu, "Mi a fyddaf gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd," ni ddylem ddiffygio, na llwfrhau, na llaesu dwylaw. Mae yr hwn sydd â braich a chadernid iddo wedi dywedyd y byddai

gwybodaeth o'r Arglwydd i lanw y ddaear megys y töa y dyfroedd y môr. Er fod mwy nâ deunaw cant o flynyddoedd wedi myned heibio er pan esgynodd ein bywiol Ben i ogoniant, ac er nad oes fawr wedi ei wneyd hyd yn hyn mewn cyferbyniad i'r hyn sydd heb ei wneyd, etto, mae digon wedi ei wneyd i ddangos effeithioldeb y moddion, a geirwiredd yr hwn a ymrwymodd roddi ei fendith gyda chymhwysiad ffyddlon o'r moddion a drefnodd ef ei hun. Mae cymdeithasau lawer wedi eu ffurfio er anfon bara y bywyd i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear. Y Morafiaid ydynt wedi bod yn fath o rag-redegwyr yn yr achos hwn, ac maent wedi gwneyd llawer yn eithafoedd gogledd-dir America a manau ereill. Mae y Bedyddwyr wedi codi yn foreu, ac yn ol eu chif wedi cyfranu yn helaeth, ac wedi gwneyd llawer yn yr India a manau ereill. Mae y Wesleaid yn llafurus anarferol, ac mae eu cenadau yn mhob parth o'r byd. Mae yr Eglwys Wladol o honi hithau yn gweithio yr egwyddor wirfoddol i bwrpas; cesglir ganddi filoedd ar filoedd yn flynyddol, ac estynir hwy ganddi dros ei mhuriau i'r Paganiaid yn ngwledydd Tramor. Ac yn olaf, enwn "Gymdeithas Genadol Llundain." Ffurfiwyd hi pum mlynedd a deugain yn awr, ar egwyddorion rhydd a chyffredinol, nid i anfon Anymddibyniaeth,

Henaduriaeth, a Phreladiaeth, ond Cristionogaeth i'r Paganiaid, gan adael dull a threfn eglwysig i ewyllys y cenadau fuasent yn foddlon ymroddi i'r gorchwyl pwysig, ond er fod ei hegwyddor sylfaenol yn gyffredinol, mae ei chynnaliaeth arianol, gyfarwyddol, a chenadol yn dyfod oddiwrth yr Anymddibynwyr a'r Trefnyddion Calfinaidd. Yn ei dechreuad nid oedd ond bychan iawn —ychydig oedd y nifer a gefnogent y fath anturiaeth, ac anghyfrifol iawn oedd y swm a gesglid at ei chynnaliaeth. Dygwyd hi yn mlaen am rai blynyddoedd yn nghanol ditlasdod crefyddwyr claear, gwatwargerdd annuwiolion, a gwawdiau chwerthingar anffyddiaid: dywedai llawer o grefyddwyr oer a diflas, ni ddaeth yr amser etto; a chellwerai annuwiaid gan haeru mai dyfais ddychymmygol fuasai yn diflanu fel y cwmmwl ac fel y niwl oedd. Anfonwyd y llong Duff i'r ynysoedd mwyaf anwareiddiedig ar y ddaear, sef Ynysoedd Mor y Deheu, ac ynddi naw ar hugain o genadau, ac yn yr anturiaeth fendigaid hon profwyd ffydd ac amynedd cyfarwyddwyr a chynnalwyr y Gymdeithas i'r eithaf; o herwydd er mawr ddifyrwch gelynion crefydd, ac ychydig o oruchafiaeth i'r bobl dda hunan-ddoeth a ddywedent mai ffolineb oedd ymdrechu efangyleiddio y byd cyn ei wareiddio, bu y cenadau yn llafurio am yspaid pymtheg

mlynedd heb fawr arwyddion bod yr antur-iaeth o Dduw. Hwyrach i'r cenadau fyned allan i raddau gormodol dan lywodraeth y dyb bod eisieu gwareiddio a pharotoi y trigolion *cyn* dangos y groes iddynt: preg-ent foesoldeb—manyldra y ddeddf—cyf-rifoldeb dyn—y farn a fydd: ond eu gwawdio oedd y bobl hyd nes iddynt ddan-gos Crist fel prif destun eu gweinidogaeth, ac erbyn i hyn gael ei wneyd, treiglodd y delwau fel Dagon o flaen arch Duw Israel—gwrandawodd y brenin—daeth ereill nol ei siampl, cofleidiodd ef Gristionogaeth felly y gwnaeth llawer ereill, ac yn fuan diflanodd eilun-addoliaeth drwy yr ynysoedd. "Nid trwy lu, ac nid trwy allu," fel yr aw-grymir gan ein gwrthwynebwyr, ond trwy ddylanwad ysbryd Cristionogaeth. Yn awr, os edrychir i'r rhan amlaf o'r ynysoedd hyny, gwelir y Sabboth yn cael ei santeiddio mewn modd a gywilyddiai Bry-deiniaid. Canfyddir yno addoldai mor ëang a phrydferth, ag sydd yn un rhan o Brydain Fawr, a chynnulleidfaoedd o 2000 i 3000 yn ymgynnull iddynt, a miloedd â'r deigrau ar eu gruddiau duon, yn cofio angeu Iesu: ac yn aml gwelir yn y flwyddyn ddau cant yn uno ag un eglwys, ac er nad ydynt ond tlodion, casglasant y flwyddyn ddiweddaf at y Gymdeithas Genadol, er rhoddi efengyl i'r rhai sydd fel y buont hwy, £187 7s. 6c.

Mae China mae yn wir, a'i phyrth yn nghau, a phob penderfyniad i gadw efengyl draw; ond gan fod y Chiniaid yn agored i glefydau, ac yn wybodus o fedrusrwydd meddygol Prydeinwyr, mae y gymdeithas wedi anfon allan lawer o feddygon duwiol yno, y rhai a dderbynir yn roesawus, ac a elwir i deuluoedd yn amser cystudd a thrallod; pan fyddo y duwiau a addolir yn methu rhoddi cymhorth, mae yn adeg gyfleus i'w cyfeirio at Dduw y duwiau, gydag estyn cynnorthwy meddygol iddynt. Fel mae llawer iawn mwy wedi ei wneyd yn China nag a welir etto; mae y surdoes yn y blawd, ac er mor fawr y clamp toes fe sura y cwbl. Mae yno ddegau yn caru y Cyfryngwr, er fel Nicodemus gynt yn ddirgel rhag ofn cospau y grefydd Sefydledig. Mae chwech o genadau Chiniaidd yn awr yn pregethu yn y wlad hono, ac mae eglwys Gristionogol wedi ei ffurfio er ys mwy nâ blwyddyn yn ol, a naw ar hugain o Chiniaid wedi uno mewn cymundeb. Wele y dyrnaid ŷd ar ben y mynyddoedd, ac fe fydd i'w ffrwyth i ysgwyd fel Libanus. Bydd yr eglwys hon fel magwrfan cenadau Chiniaidd, ac mae 205, o wŷr ieuainc Chiniaidd yn derbyn addysgiadau Cristionogol, a 116 o ferched, a dosbarthwyd tuag ugain mil o Feiblau, yn yspaid y flwyddyn ddiweddaf. Casglwyd at y Genadiaeth gan eglwysi o'r

tu hwnt i'r Ganges y flwyddyn ddiweddaf £101 8s. 8d. Mae India fras a'i mhaesydd yn wynion i'r cynhauaf; ei mhasnach â Lloegr a gwledydd gwareiddiedig ereill, sydd wedi agor eu llygaid i weled twyll Mahometaniaeth i raddau mawr, a miloedd ydynt yn gweled gwagedd yr eilunod; ond oddieithr i ni fod yn barod i estyn iddynt bethau arddcrchog yr efengyl, neidiant o eithafoedd coel-grefydd, i eithafoedd didduwiaeth Mae drws mawr ac ëang yma led y pen, maent yn agor eu safnau, ac mae dyngarwch a Christionogaeth, yn uchel alw arnom eu llanw a bara y bywyd. Y rhwystr mwyaf i ledaeniad Cristionogaeth yma, ydyw, annuwioldeb Prydeiniaid, a'r gefnogaeth mae llywodraeth Prydain yn roddi i eilun-addoliaeth; mae yno eisioes dros driugain o genadau, a 203 o genadau brodorol medrus, yn pregethu Crist wedi ei groeshoelio—miloedd o Feiblau yn cael eu dosbarthu yn flynyddol—miloedd lawer o blant yn derbyn addysg Gristionogol—capelau mawrion ac ëang, yn cael eu llanw o addolwyr; ac er nad ydyw y dychweledigion yn lluosog iawn, mae aflonyddwch cyffredinol wedi cymmeryd lle, ac ysbryd darllen ac ymofyn wedi ei greu yn gyffredin iawn, ac nid oes eisieu yn awr ond digon o weithwyr ffyddlon, er casglu cynhauaf Iesu Grist yn y wlad fawr hon. Casglwyd

gan yr eglwysi Cristionogol yma y flwyddyn ddiweddaf, er nad ydynt ond ieuengaidd, y swm o £2318 17s. 5c. Mae yno dros filiwn o eneidiau dan ofal pob un o'r cenadau, a'r cynnorthwywyr brodorol; dylai fod dau cant o leiaf yno am bob un y sydd. Yn Rwssia y mae pedwar o genadau, a golwg obeithiol ar yr achos yma hefyd. Casglwyd yma at y Genadiaeth y flwyddyn ddiweddaf £238 18s. 4c. Yn Corfu ynys yn y môr Canoldir, y mae un genad, a chasglwyd yma £7 2s. 2c.

Yn Affrica, mae dau a deugain o genadau yn llafurio, a golwg lled obeithiol ar y Genadiaeth. Mae yno ysgol-dai, a llawer dan addysg grefyddol, ac ambell i gynnulleidfa lled liosog; yn gyffredin, mae y gynnulleidfa oll yn bresennol yn yr Ysgol Sabbothol, llawer o ba rai ydynt yn teithio o 15 i 20 milldir i wrando a derbyn addysg grefyddol Yn Hankey, ar y 1 o Ion., 1838, ffurfiwyd Cymdeithas Ddirwestol, pan yr arwyddodd 75 yr ymrwymiad, ond cyn diwedd y flwyddyn, cynnyddodd yr aelodau i 235, a chydunwyd i alltudio pob math o ddiodydd meddwawl o'r sefydliad. Casglwyd yn y gwahanol sefydliadau yn Neheudir Affrica y flwyddyn ddiweddaf £267 7s. 3c. Yn yr ynysoedd Affricanaidd, nid oes ond golwg annymunol iawn ar bethau, nid oes fawr arwyddion fod y cwmwl du sydd

yn crogi uwch Madagasgar yn cilio, mae y cenadau wedi gorfod ffoi, a llawer o'r brodorion Cristionogol mewn caethiwed o'r gresynolaf, ac ereill wedi dianc am eu heinioes, a rhai wedi eu mherthyru.—Dechreu yr haf, 1838, aeth y Parch. D. Johns, drosodd o'r Mauritius, a chafodd yr hanesion mwyaf torcalonus o gynddeiriogrwydd y frenines, a chreulondeb gwaedlyd y penaethiaid; ond yr hanes mwyaf cysurus am wroldeb diysgog y Cristionogion, tri o ba rai a fuont feirw dan orfoleddu yn Nuw eu hiechydwriaeth—Rasalama, Rafaralahy, a Ravahiny; y ddau flaenaf a bicellwyd, a'r olaf a wenwynwyd. Ond gan fod Mr. Johns, yn awr yn Lloegr, hyderir y tâl ymweliad cyffredinol i eglwysi Cymru, modd y caffom wybod yn fanylach am y pethau hyn. Aeth y Parch. D. Jones, drosodd wedi hyny, Hydref, 1838, a derbyniodd y caredigrwydd penaf oddiwrth y rhai a'i hadwaenent gynt yn Tamatave, ond yr hyn a ddywed am sefyllfa y wlad sydd fel y canlyn, "Mae yr holl wlad yn griddfan dan lywodraeth orthrymus y frenines, mae y drws wedi ei gau yn mwy effeithiol yn erbyn Cristionogaeth yn Madagasgar nag yn China, 'ond pob peth sydd bosibl gyda Duw."' Mae Iesu Grist wedi cymmeryd meddiant o'r wlad trwy waed y merthyron, enwau pa rai ddylai fod yn

anwyl gan bob Cymro, gan mai o enenau Cymry y derbyniasant air yr iechydwriaeth. Mae yno ddegau yn dysgwyl am waredigaeth, a lluaws o wyr ieuainc wedi eu haddysgu yn egwyddorion Cristionogaeth. Gymry! gadawer i ni ddryllio y bolltiau pres â'n gweddiau. Yn y Mauritius, mae pethau yn gysurus, mae amryw ysgolion yn lled flodeuog; casglwyd yn Madagasgar a'r Mauritius at y Genadiaeth y flwyddyn ddiweddaf £18 16s. 10c. Yn Ynysoedd yr India Orllewinol, mae golygfeydd hyfrydol, mae tua 66 o genadau yn ymroddi i ddryllio llyfetheiriau pechod, a rhyddhau o gaethiwed llygredigaeth y rhai yn ddiweddar a ollyngwyd o gaethiwed daearol, ac nid yw eu llafur yn ofer; ar y 1 o Awst, dydd eu gollyngdod, ymgasglai cannoedd a miloedd i'r addoldai i gydnabod llaw Duw yn eu gwaredred; ac er yr amser hyny, gwna y Negröaid bob ymdrech mwy i roddi addysg i'w plant, adeiladant ysgoldai a chapelau,—a chynnygir gan rai eglwysi i gynnal eu gweinidogion a'u dysgawdwyr, ychwanega ereill eu tanysgrifiadau i'r "Gymdeithas Genadol," casglwyd eleni y swm o £5125 12s. 5c., sef ychwanegiad ar yr hyn gasglwyd y flwyddyn ddiweddaf o £2770 1s. 10c., ac y mae y cyfarwyddwyr yn lled hyderus y bydd i'r holl Ynysoedd hyn yn fuan gynnal yr achos eu hunain, a gwneyd

llawer hefyd er anfon yr efengyl yn mlaen i barthau ereill. Mae y bobl dduon hyn yn teimlo am eu teidau a'u ceraint yn Affrica sydd heb efengyl, ac anfonant gasgliadau i'r Fam Gymdeithas er anfon efengyl i'w perthynasau. Wele fras-ddarluniad o sefyllfa y byd, ynghyd â brâs-linelliad o weithrediadau "Cymdeithas Genadol Llundain" tuag at efangyleiddio y byd. Crybwyllais fod Cymdeithasaû ereill ar y maes, ond am hon yr ydwyf yn ysgrifenu yn awr, ac hyderir na ystyrir fi yn ddall-bleidiol am gyfyngu fy nodiadau yn unig at hon. Rhoddir crynodeb byr yn awr o'r cwbl. Yn ngwahanol ranau y byd mae 554 o orsafoedd *(stations,)* wrth y rhai y deallir y fan y byddo cenad yn cael ei ddanfon, ynghyd â'r pentrefydd a'r trefydd o gwmpas i'r fan hono mor bell ag y gallo ef gyrhaedd; peth nid annhebyg i *ddistrict* y Wesleaid.

Yn y Gorsafoedd mae 151 o genadau wedi eu haddysgu yn Mhrydain, a'u danfon allan ar draul y gymdeithas, 39 o gynnorthwywyr Ewropaidd, a 382 o gynnorthwywyr brodorol, wedi eu haddysgu yn eu priodol wledydd gan y cenadau er eu cynnorthwyo, y cwbl yn 572; dan ofal y rhai hyn mae 101 o eglwysi, a 8287 o aelodau, ynghyd â 634 o ysgolion, yn cynnwys 41792 o ysgolheigion; mae hyn yn ychwanegiad ar y llynedd o 16 o genadau, 8 o eglwysi,

940 o gymunwyr, 66 o ysgolion, a 4818 o ysgolheigion. Mae 15 argraff-wasg yn ngwasanaeth y gymdeithas, a 30 o fyfyrwyr yn y Coleg Cenadol yn barod, neu yn parotoi erbyn myned allan â'r efengyl. Gwel pawb fod y fath beiriant yn gofyn agerdd lled rymus i'w ŷru yn mlaen; a thuag at godi hon derbyniwyd y flwyddyn ddiweddaf, cymyn-roddion, £6455 2s. Tansgrifiadau a chyfraniadau, £59035 8s. 5c. Y gyfanswm yn £65490 10s. 5c. Treuliadau y flwyddyn fuont yn £75855 17s. 11c. Sef 10365 7s. 6c., yn fwy nâ'r derbyniadau. Tuag at wneyd y £59035 8s. 10c.; casglwyd yn Llundain £15170 8s. 10c.; yn rhanau ereill o Loegr £34575 9s. 10c.; yn Nghymru £3087 19s. 4c. yn yr Alban £1601 19s. 3c.; yn yr Iwerddon £863 16s. 6c.; gan gymdeithasau Tramor £630 15s. 6c.; yn Ynysoedd Môr y Deau £187 7s. 6c.; ar gyffiniau China, tu hwnt i'r Ganges £101 8s. 8c.; India £2313 17s. 5c.; Corfu £7 2s. 2c.; Deheubarth Affrica, £267 7s. 3c.; Ynysoedd Affrica £18 6s. 10c.; Ynysoedd Gorllewinol £5125 12s. 5c. Er gwneyd y £3087 19s. 4c. uchod, casglwyd gan yr Anymddibynwyr yn siroedd Aberteifi £177 16s. 10c.; Caerfyrddin £219 17s.; Penfro £300 18s.; Brycheiniog £51 0s. 2c.; Morganwg £117 8s. 10c; Mynwy y dosbarth Cymreig £104 13s. 8c.; Trefal-

dwyn £106 15s. 8c.: Meirionydd £24 6s: Fflint £86 2s. 10: Dinbych £193 5s. 8c.; Caernarfon £8 3s. 5c.: Môn £61 7s. 6c. Y gweddill a wnawd i fynu gan y Trefnyddion. Yn yr adroddiad diweddaf mae casgliad dwy flynedd ganddynt hwy fel y canlyn:—Môn £237 8s. 2c; Caernarfon £207 4s. 10c.: Dinbych £87 18s. 3c.; Fflint £66 2s. 9c.: Meirionydd £150: Trefaldwyn £49 4s. 5c.: Brycheiniog £107 2s. 4c: sef cynnyrch dwy flynedd o'r sir hon: Aberteifi dwy flynedd £415 16s. 3c.: Caerfyrddin dwy flynedd £201 13s. 2c.: Mynwy dwy flynedd £43 5s. 9c: Penfro dwy flynedd £112 14s. 5c.

Gan y byddai erthynu *(substract)* treuliau gwahanol siroedd, ynghyd â manylu ar bethau ereill, yn gofyn ychwaneg o le nag a ellir hebgor yma, ni roddwn ond y gyfanswm a gasglwyd, yn ol adroddiad diweddaf y Fam Gymdeithas. Eleni cynnygwyd yn nghyfarfod blynyddol diweddaf y Fam Gymdeithas ar fod i'w derbyniadau gael eu codi i gan mil o bunnau yn flynyddol. Yn nghyfarfod y bwrdd ymddangosai llawer wyneb fel eiddo Nehemiah,—" O! beth a wnawn? (medd un:) mae deng mil o bunnau eisioes o ddyled ar y gymdeithas: ac mae gormod o genadau ar led i dderbyniadau presennol y gymdeithas i gynnal pethau yn mlaen—beth a wnawn? Mae India yn

galw am ugeiniau a channoedd o genadau yn ychwanegol. Mae y byd o'n blaen, ac yn galw am gynnorthwy, ond yn lle ëangu gweithrediadau y gymdeithas, rhaid galw rhai o'r cenadau yn ol." "Na atto Duw, (ebe y Parch. J. A. James, o Birmingham,) cyn y galwom neb yn ol, a chyn y methom ateb rhai o'r galwadau am genadon ychwanegol, rhaid i ni ymwadu mwy â ni ein hunain nag a wnaethom erioed, onite fe ddigia Duw wrthym. Gadewch i ni godi y derbyniadau blynyddol eleni i gan mil." "O, (ebe un,) nid ydyw hyna ond dyfais na ddaw byth i ben." "*Try*, (ebe Mr. J.,) a dywedwch fel yna wedi i ni fethu ar ol cydymegniad teg." Ar hyn lluniwyd penderfyniad i'w gosod gerbron y cyfarfod blynyddol yn Exeter Hall; ac yno cynnygwyd gan Dr. Beman, o America, fod y derbyniadau eleni yn gan mil o bunnau: yr hyn a gefnogwyd gan Dr. Raffles, o Lynlleifiad, mewn araeth rymus a hyawdl, gan gyfeirio at arferiad gan un o'r breninoedd Paganaidd wrth roddi cyfraith, neu ei chadarnhau, buasai yn dywedyd—*Let it stand;* yna gofynodd yr araethiwr i'r miloedd oeddynt yno, a gawsai y penderfyniad sefyll? ac yn union dyrchafai miloedd eu llais, gan waeddu, "*Caiff, caiff*." Yr oedd yno Albaniaid, Gwyddelod, Americaniaid, a Saeson lawer, ond nid oedd neb o Gymru ondfy hunan,a meddyliais

y rhoddwn sarhad i deimladau brwdfrydig a chrefyddol y Cymry pe buaswn yn ol i neb mewn sel ar yr achlysur; gwaeddais gan hyny, nerth fy ngheg, "Caiff y penderfyniad sefyll;" ac mae y casgliadau sydd eisioes wedi eu gwneyd yn dangos i mi wneyd yr hyn ddylaswn wrth wystlo Cymry i wneyd ei rhan i gael y can mil i fynu. Mae Caerfyrddin a Llanelli yn benderfynol i wneyd can punt rhyngddynt.

Mae Bethlehem, Lacharn, a Henllan, wedi ymwystlo i Mr. Knill i wneyd casgliadau teilwng o honynt eu hunain; mewn gair, mae sir Gaerfyrddin yn ei Chyfarfod Cenadol, wedi ymrwymo yn mhresennoldeb Chwiliwr y calonau, i wneyd ei rhan yn yr ymgyrch clodwiw hwn; ac yr ydym yn benderfynol eleni os yn ddichonadwy, i flaenori mewn haelioni crefyddol ar siroedd ereill Cymru. Fy mrodyr, cyfodwch, arnom ni y mae y peth hwn. Iaith y bobl bob amser ydyw, "Ni a fyddwn gyda chwi." Anaml iawn y bu eglwys farwaidd yn yr achos cenadol, lle buasai gweinidogion effro a zelog. Hyderir y bydd pob gweinidog trwy Gymru i osod yr achos hwn gerbron ei bobl, a'i gefnogi â'i esiampl, ac â'i ddylanwad. Edrycher trwy Gymru, ni welir cymmaint ag un eglwys flodeuog iawn, nad yw yn rhagori yn ei zel dros yr achos cenadol; mae rhai eglwysi lliosog mae yn wir,

nad yw yn gwneyd fawr o ddim tuag at ddyfrhau ereill, ac amlwg ydyw eu bod yn sych a difwyn iawn eu hunain, ac oddieithr iddynt ddeffroi, bydd i'w holl degwch hwynt i ymadael. Llawer iawn o annogaethau sydd i ymroddi yn egniol ac ewyllysgar i'r gwaith—llawer ddywedwyd y buasai yr achos hwn yn dod i'r dim; bu ein teidau yn ei ddyfrhau â'u deigrau, ac yn ei lwyr gynnal â'u mheddiannau. Yn ei fabandod y bu yn hir, ond yn awr gwelir bod y planhigion a blanwyd ddeg-ar-hugain, a deugain mlynedd yn ol mewn gwledydd Paganaidd yn dechreu dwyn ffrwyth toreithiog. Cesglir mwy ganddynt hwy nag a wnaed unwaith gan yr holl fyd Cristionogol at y gymdeithas enwog; cryf hânt hwy i fyw yn gwbl arnynt eu hunain, cyfyd ereill i wneyd peth, daw Cristionogion gartrefol yn mwy selog, treiglir y gàreg a dòrwyd o'r mynydd nid â llaw, gyda mwy o chwyrnder a chyflymdra nâg erioed. Er fod breninoedd yn ymosod, a'r pennaethiaid yn ymgynghori yn nghyd, mae yr hwn sydd yn eistedd yn y nefoedd yn manol wylied dros fudiadau Sïon, ac a oruwchlywia y pethau mwyaf gwrthwynebus yn y pendraw, i fod yn lles i'w achos. Mae China yn cau ei drysau yn erbyn efengyl, ond mae y surdoes yn y blawd, a meddyliau dynion wrth y cannoedd yn cael eu parotoi i gofleidio efengyl.

Amlwg iawn gellir gweled llaw Rhaglunieth yn mhenderfynoldeb diysgog yr Ymherawdwr Chiniaidd i rwystro yr Opium i lygru ei ddeiliaid, a'u hanghymhwyso amser a ddaw i dderbyn cenadwri y cymmod. Ac er fod Brenines Madagasgar a'i chynghorwyr wedi llwyddo am yspaid i rwystro rhediad afon gras; etto, nid yw ond croni, a thŷr maes o law dros ei cheulanau, ac ysguba holl noddfeydd celwydd.

Mae Duw o'n tu—cryna uffern, awn rhagom, gan hyny, fel llu banerog, ac ymdrechwn ddangos ein hunain o du yr Oen, ac ein bod yn alwedig, yn etholedig, a ffyddlon, ac yn ein holl ymegniadau ymorphwyswn yn ffyddiog ar addewidion Iôr, gan daer erfyn am dywalltiadau helaeth o'i ysbryd, yna cawn weled teyrnasiad heddychol Tywysog tangnefedd ar y ddaear.

"Byw hefyd fydd efe, a rhoddir iddo aur o Seba; gweddiant hefyd drosto ef yn wastad, beunydd y clodforir ef. Bydd dyrnaid o ŷd ar y ddaear yn mhen y mynyddoedd; ei ffrwyth a ysgwyd fel Libanus, a phobl y ddinas a flodeuant fel gwellt y ddaear. Ei enw a fydd yn dragywydd, ei enw a bery tra fyddo haul, ac ymfendithiant ynddo; yr holl genedloedd a'i galwant."

## EMYN.

Cydunwn, Gymry mwyn,
O galon hael ddi-gwyn,
  I wneyd ein rhan;
Mae gwaedd y pagan pell
Yn cyrhaedd i bob cell
Am gael newyddion gwell;
  Rhown nawdd i'r gwan.

Digonedd sydd i'w gael,
Am hyny byddwn hael
  O'r trysor dryd,
Fel bo'r efengyl fad
Yn seinio drwy bob gwlad.
A lluoedd gael gwellhad,
  Fu'n cwyno cy'd.

Ac yna daear lawr
A fydd fel allor fawr
  I'r Iesu gwiw;
Gan bawb yn ddiwahan
Bydd haleluia lân,
A'r byd i gyd yn gân
  O fawl i Dduw.

*Llanelli.* GLANTOWY.

*Argraffwyd gan Rees a Thomas, Llanelli.*

# CHRIST

# THE ONLY REFUGE.

REASONS WHY CHILDREN SHOULD FLY TO CHRIST WITHOUT DELAY.



BIRMINGHAM:

PRINTED FOR J. GROOM, BROAD STREET.

1845.

Mary Arnold her Boo
aged 10 years ould
in the year of
~~ouer~~ ouer Lord
Mary Arnold her Book
aged 10 years old
in the year of our Lord

Mary is my name and
arnold is my nation
and Little Mill
my dwelling place
and christ is my
salvation

Mary Arnold is Bo

## CHRIST THE ONLY REFUGE.

---

The late Countess of Huntingdon was not only rich in this world, but rich in faith, and an heir of the kingdom. When she was about nine years of age she saw the dead body of a little child of her own age carried to the grave. She followed the funeral; and it was there that the Holy Spirit first opened her heart to convince her that she needed a Saviour. My dear little children, when you look upon the year that has come to an end, may the Holy Spirit bring you to the same conviction; may the still small voice say in your heart, Flee now from the wrath to come. Fly to the Lord Jesus without delay. "Escape for thy life: look not behind thee."

I. *Because life is very short.*—"The days of our years are three score years and ten; and if by reason of strength they be four-score years; yet is their strength labour and sorrow, for it is soon cut off, and we fly away." Even those who live longest when they come to die, look back on their life as upon a dream. It is "like a sleep." The hours pass rapidly away during sleep; and when you awake you hardly know that any time is passed. Such is life. It is like "a tale that is told." When you are listening to an entertaining tale it fills up the time, and makes the hours steal swiftly by; even so "we spend our years as a tale that is told."

You have seen a ship upon the river when the sailors were all on board, the anchor heaved, and the sails spread to the wind; how it glided swiftly past, bounding over the billows,—so it is with your days: "They are passed away as the swift ships."

Or perhaps you have seen an eagle when, from its nest in the top of the rocks, it darts down with quivering wing to seize upon the smaller bird, how swiftly it flies,—so is it with your life: it flies "as the eagle hasteth to the prey." You have noticed the mist on the brow of the mountain early in the morning; and you have seen, when the sun rose with his warm cheering beams, how soon the mist melted away. And "what is your life? It is even a vapour that appeareth for a little time, and then vanisheth away."

Some of you may have seen how short life is in those around you. "Your fathers, where are they? And the prophets, do they live for ever?" How many friends have you lying in the grave? Some of you have more friends in the grave than in this world. They were carried away "as with a flood," and we are fast hastening after them. In a little while the Church

where you sit will be filled with new worshippers—a new voice will lead the psalm—a new man of God fill the pulpit. It is an absolute certainty that, in a few years, all of you who read this will be lying in the grave. Oh, what need, then, to fly to Christ without delay. How great a work you have to do. How short the time you have to do it in! You have to flee from wrath—to come to Christ—to be born again—to receive the Holy Spirit—to be made meet for glory. It is high time that you seek the Lord. The longest lifetime is short enough. Seek conviction of sin and an interest in Christ. "Oh, satisfy me early with thy mercy, that I may rejoice and be glad all my days."

II. *Because life is very uncertain.* Men are like grass:—"In the morning, it groweth up and flourisheth; in the evening, it is cut down and withereth." Most men are cut down while they are green. More

than one half of the human race die before they reach manhood. In the city of Glasgow alone, more than one half of the people die before the age of twenty. Of most men it may be said,—" He cometh forth as a flower, and is cut down." Death is very certain, but the time is very uncertain. Some may think they shall not die because they are in good health—but you forget that many die in good health, by accidents and other causes. Again, riches and ease and comforts, good food and good clothing, are no safeguards against dying. It is written, " The rich man also died, and was buried." Kind physicians and kind friends cannot keep you from dying. When death comes, he laughs at the efforts of physicians—he tears you from the tenderest arms. Some think they shall not die because they are not prepared to die; but you forget that most people die unprepared—unconverted—unsaved. You

forget that it is written of the straight gate, "Few there be that find it." Most people lie down in a dark grave, and a darker eternity. Some of you may think you shall not die because you are young. You forget that one half of the human race die before they reach manhood. The half of the inhabitants of this town die before they are twenty. Oh, if you had to stand as often as I have beside the dying bed of little children—to see their wild looks and outstretched hands, and to hear their dying cries—you would see how needful it is to fly to Christ now. It may be your turn next. Are you prepared to die? Have you fled for refuge to Jesus? Have you found forgiveness? "Boast not thyself of to-morrow; for thou knowest not what a day may bring forth."

III. *Most that are ever saved fly to Christ when young.*—It was so in the days of our blessed Saviour.

Those that were come to years were too wise and prudent to be saved by the blood of the Son of God, and he revealed it to those who were younger and had less wisdom. "I thank thee, O Father, Lord of heaven and earth, because thou hast hid these things from the wise and prudent, and revealed them unto babes. Even so, Father, for so it seemed good in thy sight." "He gathers the lambs with his arm, and carries them in his bosom." So it has been in almost all times of the rivival of religion. If you ask aged Christians, the most of them will tell you that they were made anxious about their souls when young.

Oh, what a reason is here for seeking an early ingathering to Christ. If you arenot saved in youth, it is likely you never will. There is a tide in the affairs of souls. There are times which may be called converting times. All holy times is peculiarly converting

time. The Sabbath is the great day for gathering in souls—it is Christ's market day. It is the great harvest day of souls. I know there is a generation rising up that would fain trample the Sabbath beneath their feet; but prize you the Sabbath-day. The time of affliction is converting time. When God takes away those you love best, and you say, "This is the finger of God," remember it is Christ wanting to get in to save you: Open the door and let him in. The time of the striving of the Holy Spirit is converting time. If you feel your heart pricked in reading the Bible, or in hearing your teacher, "Quench not the Spirit;" "Resist not the Holy Ghost;" "Grieve not the Holy Spirit of God." Youth is converting time. "Suffer little children to come unto me, and forbid them not." Oh, you that are lambs, seek to be gathered with the arm of the Saviour, and carried in his gentle

bosom. Come to trust under the Saviour's wings. "Yet there is room."

IV. *Because it is happier to be in Christ than out of Christ.*"—Many that read these words are saying in their heart, "It is a dull thing to be religious. Youth is the time for pleasure—the time to eat, drink, and be merry—to rise up to play. Now, I know that youth is the time for pleasure: the foot is more elastic then—the eye more full of life—the heart more full of gladness. But that is the very reason why I say youth is the time to fly to Christ. It is far happier to be in Christ than to be out of Christ.

1. *It satisfies the heart.*—I never will deny that there are pleasures to be found out of Christ. The song and the dance, and the exciting game, are most engaging to young hearts. But, ah! think a moment: Is it not an awful thing to be happy when you

are unsaved? Would it not be dreadful to see a man sleeping in a house all on fire? And is it not enough to make one shudder to see you dancing and making merry when God is angry with you every day?

Think again. Are there not infinitely sweeter pleasures to be had in Christ? "Whoso drinketh of this water shall thirst again: but whoso drinketh of the water that I shall give him shall never thirst." "In thy presence is fulness of joy: at thy right hand are pleasures for evermore." To be forgiven—to be at peace with God—to have Him for a Father—to have Him loving us and smiling on us—to have the Holy Spirit coming into our hearts, and making us holy: This is worth a whole eternity of your pleasures. "A day in thy courts is better than a thousand." Oh, to be "satisfied with his favour, and full with the blessing of the Lord." Your daily bread be-

comes sweeter. You "eat your meat with gladness, and singleness of heart, praising God." Your foot is more light and bounding, for it bears a ransomed body. Your sleep is sweeter at night, for "so he giveth his beloved sleep." The sun shines more lovingly; and the earth wears a pleasanter smile, because you can say, "My Father made them all."

2. *It makes you glad all your days.*—The pleasures of sin are only "for a season;" they do not last. But to be brought to Christ is like the dawning of an eternal day: it spreads the serenity of heaven over all the days of our pilgrimage. In suffering days, what will the world do for you? "Like vinegar upon nitre, so is he that singeth songs to a heavy heart." Believe me, there are days at hand when you will "say of laughter, It is mad;" and of mirth, "What doth it?" But if you fly to Jesus Christ now, he will cheer you in the

days of darkness. When the winds are contrary, and the waves are high, Jesus will draw near, and say, "Be not afraid: It is I." That voice stills the heart in the stormiest hour. When the world reproach you, and casts out your name as evil—when the doors are shut—Jesus will come in and say, "Peace be unto you." Who can tell the sweetness and the peace which Jesus gives in such an hour? One little girl that was early brought to Christ felt this when long confined to a sick bed: "I am not weary of my bed," she said, "for my bed is green; and all that I meet with is perfumed with love to me. The time, night and day, is made sweet to me by the Lord. When it is evening, it is pleasant; and when it is morning, I am refreshed."

Last of all, in a dying day, what will the world do for you? The dance, and the song, and the merry companion, will then lose all their

power to cheer you, Not one jest more. Not one smile more. "Oh that you were wise, that you would understand this, and consider your latter end." But that is the very time when the soul of one in Christ rejoices with a joy unspeakable and full of glory. "Jesus can make a dying bed softer than downy pillows are." You remember when Stephen came to die, they battered his gentle breast with cruel stones—but he kneeled down and said, "Lord Jesus, receive my spirit." John Newton tells us of a christian girl who, on her dying day, said, "If this be dying, it is a pleasant thing to die." Another little Christian of eight years of age, came home ill of the malady of which he died. His mother asked him if he were afraid to die. "No," said he; "I wish to die if it be God's will: that sweet word, Sleep in Jesus, makes me happy when I think on the grave."

"My little children, of whom I travail in birth again till Christ be formed in you,"—if you would live happy and die happy, come now to the Saviour. The door of the ark is wide open: Enter now, or it may be never.

### HYMN.

As the serpent raised by Moses
  Heal'd the burning serpent's bite;
Jesus thus himself discloses
  To the wounded sinner's sight.

Hear His gracious invitation,
  "I have life and peace to give;
I have wrought a full salvation;
  Sinner, look to me and live."

Well may shame, and joy, and wonder,
  All our inward passions move;
He could crush us with his thunder.
  But He speaks to us in love.

FINIS.

John Tonks, Printer, 61, Hill-street, Birmingham.